# HENGOEDIANA;

SEF,

HANES EGLWYS Y BEDYDDWYR

YN

# HENGOED,

CELLIGAER, MORGANWG,

O'I DECHREUAD HYD Y FLWYDDYN 1860.

YNGHYD A

PHEDAIR O ANNERCHIADAU AR HANES Y BEDYDDWYR
YN NGHYMRU, &c.

---

CYHOEDDEDIG GAN YR EGLWYS.

---

CAERDYDD:
ARGRAFFWYD GAN W. JONES, HEOL-DUC.
M.DCCC.LXI.

# CYFARCHIAD ARWEINIOL.

Yr achlysur o ysgrifenu yr hanes ganlynol ar y pryd hwn yn neillduol oedd, i ni farnu, fel eglwys, ei bod yn ddyledswydd arnom gynnal cyfarfod jubiliaidd ar ben y trydydd hanner cann mlynedd oddiar pan adeiladwyd ein tŷ cyfarfod cyntaf. Teimlem, os oedd un eglwys yn ddyledus i râs y nef, ein bod ni felly yn arbenig. Dyben pennodol y cyfarfod hwn oedd cydnabod llaw alluog a grasol Arglwydd y Lluoedd yn nghynnaliad ei achos yma mewn modd mor ryfeddol, ac am dymhor mor faith.

Fel y buasai y daioni cynnaliol hwn yn cael ei osod yn y goleuni mwyaf eglur ac effeithiol, i gyrchu y mawl uchaf a'r hunan-ymwadiad iselaf, barnasom yn addas i ofyn i frawd o'r eglwys ysgrifenu hanes fèr o weithrediadau Tywysog Israel tuag atom, o'r dechreu hyd yn awr,—sef dros y tymhor o *ddau cant a deg o flyneddoedd*,—yr hon a ddarllenwyd i'r cyfarfod ar y pryd. Wedi i ni glywed hòno, amlwg oedd fod mwy heb ei ddweyd nag a lafarwyd, a bod y gweddill yr un mor ddyddorol ac adeiladol i bererinion Sion. Ac wrth ganfod yn eglur fod hanes yr eglwys hon yn cyrhaedd yn ol hyd at gareg sylfaen yr *enwad* o *Fedyddwyr Cymreig*, a bod cyfiawnder i ogoniant Brenin y Deyrnas yn galw am ei gwneud yn gyhoeddus, cynhyrfwyd y gweinidogion a'r brodyr gwyddfodol i ddymuno cael yr hanes wedi ei helaethu i derfynau digonol i goffadwriaethu yr îs-gadlywyddion a'r milwyr glewion a fuont ar faes y brwydrau yn y cynoesoedd, ac i arddangos gweithrediadau pwysicaf y gatrawd hon o fyddin Israel. Hyn sydd yn cael ei wneud yn y tudalenau dyfodol, mor bell ag y cafwyd hanes foddlonol.

Hefyd, mewn cydsyniad caredig â'n cais, darfu i'r brodyr galluog a areithiasant yn nghyfarfod y jubili, ar y gwahanol destunau gosodedig iddynt, ganiatâu i'w "Hannerchiadau" gael eu cyhoeddi yn y llyfr hwn; yr hyn a'i gwna yn dalfyriad o hanes y Bedyddwyr yn Nghymru o'r dechreu hyd yn awr, ac sydd yn ei osod yn sylfaen safadwy i fynegiad hanner cann mlyneddol o gyflwr y Bedyddwyr yn y Dywysogaeth drwy yr oesau dyfodol.

Tra yn gosod pren darluniadol o ledaeniad canghenol yr eglwys yn nechreu y llyfr, nid ydym yn golygu cyssylltiad cyflawn cangen yn perthyn i bob un, ond fod digon o nodd yr hen wreiddyn yn rhedeg drwyddi i brofi ei pherthynas agos; a'r un modd y canghenau a'r rhai ydynt wedi tarddu o honynt hwythau.

Yr ydym yn awr yn cyflwyno hyn o wasanaeth yn ostyngedig, ac mewn cariad cryf, i'n chwaeriorydd eglwysig, gan ddymuno bendith Bugail y Defaid arnynt oll.

Hengoed, *Gorphenaf y 1af*, 1861.

# CYNNWYSIAD.

Y DARLUN.—I ddeall y Darlun, dechreuer darllen yn y gwaelod, a dilyner y cangenau yn fanol, yna gwelir yn dra eglur o ba eglwys y mae pob cangen wedi tarddu.



GWALLAU.—Yn tud. 17, yn y 5ed linell o'r gwaelod, darllener 1650 yn lle "1850." *Tud. 56, ll. 30,* yn lle diboendod, darllener di*h*oendod.

# HENGOEDIANA.

GAN

MR. LLEWELYN JENKINS,
MAESYCWMWR.

## CYFLWR CREFYDD YN FLAENOROL I SEFYDLIAD EGLWYS HENGOED.

Nid yw yn perthyn i'n hamcan yma i ymweithio yn ol i amgylchiadau tymhor yn mhell y tu hwnt i sefydliad eglwys Hengoed: gwneir hyny i raddau digonol mewn rhan arall o'r llyfr hwn. Nodwn rai pethau cyfagos i'r amser, er mwyn arwain yn naturiol at gorffoliad yr eglwys.

Yr oedd ysbryd y goleuni efengylaidd wedi bod yn ymsymud ar wyneb dyfnderoedd anwybodaeth grefyddol trigolion gwlad Morgan er amser Thomas Llewelyn o Rhegoes, Ystrad-dyfodwg, Morganwg. Efe a gyfieithodd ranau helaeth, os nid yr oll, o'r Ysgrythyrau i'r Gymraeg; ac yr oedd yn bregethwr a bardd enwog, yn meddu dylanwad mawr yn mhlith ei genedl. Yr oedd ef yn byw yn agos i gann mlynedd cyn corffoli yr eglwys. Dywedai Iolo Morganwg ei fod yn gyndad i'r Dr. Thomas Llewelyn, aelod wedi hyny o'r eglwys hon.

Yn y rhan flaenaf o'r ddwyfed ganrhif ar bymtheg, yr ydym yn cael hanes cynhyrfiadau crefyddol a gwladol, yn tueddu yn gryf at anymddibyniaeth barn ac ymarferiad. Y pregethwyr Ymneillduol blaenaf a phenaf y mae genym hanes benderfynol am danynt yn yr ardaloedd hyn, ydynt, Mr. Wroth, offeiriad Llanfaches, sir Fonwy; William Erbury, offeiriad plwyf Mair, Caerdydd; a Walter Caradoc, ei gurad. Nid oedd un o'r rhai hyn yn Fedyddwyr. Yr oeddent wedi eu dwyn i fynu yn Rhydychain, ac yn gweini

yn yr Eglwys Sefydledig hyd nes i'w cydwybodau fyned yn rhy anesmwyth, ac i burdeb eu hathrawiaeth, a gwres eu gweinidogaeth, beri iddynt gael eu ceryddu ynddi, ac iddynt hwythau fyned allan o honi. Yn agos i'r un amser yr oedd Mr. Fafasor Powel wedi dyfod i'r maes yn ardaloedd Maesyfed, Brycheiniog, &c.; eithr dywed ef ei hun mai tair gwaith y bu ef yn Morganwg, a'r tro diweddaf ond am un diwrnod, yr un diweddaf cyn ei garchariad olaf. Efe a fu farw yn ngharchar Lambeth, yn 1670, wedi bod yn Fedyddiwr amryw flyneddoedd. Hwn oedd y gwr mwyaf enwog mewn llafur a dyoddefiadau dros ei Arglwydd yn ei oes.

Yr oedd y rhai blaenaf a nodasom wedi dechreu pregethu y tu allan i furiau y Sefydliad, o bellaf yn 1634; a diddadl fod yr ysbryd ymneillduol yn gweithio amryw flyneddoedd yn flaenorol i hyny, er nad oedd y personau oeddent dan ei ddylanwad yn canfod y nod yr ymweithiai ati. Ni bu eu llafur yn ofer yn yr Arglwydd: ond amlwg iawn ydyw, cyn fod Mr. Erbury yn medru troi allan o'r Eglwys mor ddibetrusder, a phregethu mor hyf, fod amryw ysbrydion cydymdeimladol ar hyd a lled yr ardal yn mhlith trigolion cyffredin y wlad. Ac y mae genym hanes fod math o gynnulleidfa yn cyfarfod yn Mlaencanaid, plwyf Merthyr Tydful, wedi ei chasglu o'r defnyddiau hyn, er nad yw ei amseriad yn benderfynol.

Am ddechreuad Ymneillduaeth yn Nghymru, yr ydym yn cyfeirio y darllenydd at yr hanes fwyaf safadwy a feddwn yn yr iaith, sef eiddo Mr. Joshua Thomas, 1778, ac at Ddarlith ragorol Mr. Robert Ellis, 1849.

Hysbys i bob hanesydd yw, fod y Bedyddwyr, fel rhai yn ymarferyd yr ordinhad trwy drochiad, ac mewn cysylltiad a chredinwyr yn unig, yn tynu eu henafiaeth oddiwrth yr Apostolion a Christ; eithr fel corff o bobl yn ei agwedd bresennol yn y Dywysogaeth, y mae eu hanes yn dal perthynas â'n pwnc yma. Yn yr ystyr hyn, gwelir hwy yn ol hanesyddiaeth, yn ymdarddu megis o elfenau *chaos* y tymhor; a gweddus yw i ni holi ychydig am y personau a'r ardaloedd a anrhydeddwyd â'r fraint o roddi bodoliaeth iddynt: ac er ein boddineb neillduol, nid ydym wedi ein gadael heb ddefnyddiau llwyr foddlonol ar y mater, y rhai y mwynhawn y pleser o'u rhoddi gyntaf i'n henwad a'n *cenedl drwy y wasg*.

Ond cyn myned yn mhellach, priodol yw rhoddi braslun o sefyllfa wladol a chrefyddol y deyrnas hon yn y blyneddoedd uniongyrchol gyssylltiedig ag amser corffoliad yr eglwys; oblegid heb hyny nis gellir canfod yn eglur paham y cafodd yr eglwys ei dwyn i fodoliaeth ar y pryd hwnw yn neillduol. Ar ddiwedd teyrnasiad, neu yn hytrach diwedd bywyd Siarls II. (yr oedd y Senedd wedi dirymu ei awdurdod ef yn flaenorol, drwy ddylanwad Cromwel,) y corffolwyd yr Eglwys. Oddiar amser Harri yr VIIIfed yr oedd Pabyddiaeth wedi bod yn ymdrechu adfeddiannu y tir yr oedd Protestaniaeth wedi ei gymmeryd, ac yr oedd yn gwylied ar bob cyfle i adsefydlu ei hawdurdod yn yr Alban a Lloegr. Yr oedd ei gobaith am lwyddiant yn sylfaenedig ar ragfarn a thueddfryd ffafriol y Stewartiaid tuag at ei phuteindra. Er cymmaint a wnaeth y frenhines Elisabeth o blaid y grefydd ddiwygiedig, ac er na feiddiodd Iago I. attal tueddfryd yr oes, eto, darfu i Siarls I. wneyd yr hyn oll oedd yn ei allu i sefydlu anlladrwydd Rhufeinig yn nhrefniant Esgobaethol Lloegr, yr hwn oedd yn cael ei ddrwgdybied o fod yn beiriant cyfaddas i Rufain ei weithio, a hyny nid heb achos. Yr oedd cyfnewidiadau pwysig y teyrnasiadau blaenorol wedi agor llygaid y deiliaid i raddau pell, a hawl ddwyfol brenhiniaethau yn anghyssylltiedig a dewisiad y deiliaid wedi dyfod yn destun amheuaeth; llewyrch Gair Duw i raddau helaeth wedi ymdaenu; a dynion wedi dyfod i ddeall ychydig am eu hiawnderau yn ol gosodiad y Crewr tragywyddol. Yr oedd hyn oll yn aflonyddu Siarls ar ei orsedd, canys yr oedd yn caru penarglwyddiaeth wladol, a dylanwad orseddol grefyddol i berffeithrwydd. Ei ymlyniad didor wrth yr elfen drawslywodraethol hon a'i gwnaeth yn wrthddrych anymddiriedaeth y Senedd, ac o fesur i fesur torodd y frwydr allan rhyngddynt, yr hyn a derfynodd yn ngharchariad Siarls, a sefydliad awdurdod y Senedd.

Y blaid brotestanaidd gryfaf y pryd hwn oedd y Presbiteriaid; a than aden hon ffurfiodd a chynnyddodd yr Anymddibynwyr, nes, dan lywyddiaeth gwr mor alluog ag Olifer Cromwel, (yr hwn oedd yn Annibynwr,) iddynt gael cipolwg ar yr orsedd ei hun; ac ynddo ef gellir dyweyd mai Anymddibyniaeth gafodd yr anrhydedd o osod y fwyall yn greulawn ar wddf Siarls. Hawdd gweled wrth yr amgylchiadau hyn, fod y Senedd wedi sefydlu

math o ryddid crefyddol a gwladol er ys rhai blyneddoedd, a bod praidd Duw wedi cael hamdden i ymborthi, ymgryfhau, ac amlhau. Yn wir, yr oedd yn dymhor hafaidd ar grefydd mewn cyferbyniad i'r hyn a fu, er mai tawelwch yn cael ei greu oedd gan rym cydbwysol Presbiteriaeth ac Esgobyddiaeth. Erlid y sectau oedd gwir amcan y ddwy, eithr nid oedd y naill na'r llall ar hyn o dymhor yn medru gweithredu ar eu tueddiadau trawslywodraethol. Tra yr oedd y llewpard a'r arth megis yn dal llygad syml a digyffro at eu gilydd, yr oedd pob un o honynt yn ymdrechu troi gwen serchoglawn tuag at y pleidiau bychain, yn enwedig Presbiteriaeth, yr hon oedd dra gwenieithgar, tra yr oedd a'i dannedd hirion yn barod i draflyngcu y sectau bob yr un, a dyoddefasant lawer oddiwrthi yn ol y cyfleusderau. Nid rhyfedd, ar yr un pryd, wrth nofio ar wyneb y môr tawelog, fod plant Duw yn awr, heb fedru gweled yn mhell i'r dyfodol, wedi meddwl fod gwawr y mil blynyddoedd ar ymdori, ac y gallent hwy ddangos eu hunain yn ngoleuni haul, ymgasglu yn gyhoeddus at eu gilydd, ac ymgorffoli yn broffesedig dan awdurdod uniongyrchol Brenin ac Esgob eu heneidiau, ac nid dan awdurdod Pab Rhufeinig, Archesgob Brytanaidd, na chynghorlys o dduwinyddion. Fel yr oedd awdurdod Cromwel yn cryfhau, yr oedd Presbiteriaeth ac Esgobyddiaeth yn colli tir; egwyddorion rhyddid yn ymdaenu, ac hyder gwir grefyddwyr yn ymnerthu; ac nid rhyfedd hyny, canys yr oedd y gwr hwn, gyda'i fod wedi dibenu unbenaeth wladol, yn proffesu Gair Duw yn safon ffydd, fel y dywedai yn awdurdodol, "fod y grefydd brotestanaidd Grist'nogol, fel y mae yn cael ei gosod allan yn y Testamentau Newydd a Hen, i gael ei thystiolaethu a'i dal allan i gyffes y cenedlaethau hyn, ac nid unrhyw beth arall." Yr oedd yr holl amgylchiadau addawol hyn wedi rhoddi y fath eofndra i ganlynwyr yr Oen, fel y bu y flwyddyn 1649 yn un wir nodedig yn hanes grefyddol y deyrnas.

Eithr y mae cyfiawnder yn galw arnom gofnodi, er fod agwedd rhyddid crefyddol mor annogaethol mewn ystyr gyffredinol drwy y deyrnas, nid oedd yn gymmaint felly i'r Trochwyr diystyredig. Rhan eu phiol hwynt oedd yr un lawnaf. Yr oedd y Bedyddwyr wedi cael gryn lonydd i ennill tir yn gyflym fel crefyddwyr ereill, ond yr oedd hyny yn tarddu o'r amgylchiad ffodus, fod y Presbiteriaid

yn gorfod dadlu eu hawliau ar dir rhyddid cyfreithiol cyffredinol, a'r Anymddibynwyr ar dir rhyddid cydwybod, ac felly pob un o honynt yn analluog i osod mewn grym dueddfryd eu natur yn erbyn y rhai a arferent fedydd y crediniol yn unig. Ac i roddi cyflawn degwch i'r dosparth goleuedig o'r Anymddibynwyr, yr oedd eu cariad hwy mor gryf, fel y mae hyd y dydd hwn, tuag at ryddid cydwybod, fel yr oeddent yn cydymddwyn ac yn ymgymmysgu i raddau â'r Bedyddwyr, proffes y rhai oedd ac sydd yn gyfryw ag na chymmysga mewn unrhyw fodd a chrefydd sefydledig wladol.• Ond er fod eithriadau, yr oedd y rhagfarnllyd a'r anwybodus o'r Anymddibynwyr yn cydymdeimlo a'r Presbiteriaid; ac nid anhawdd profi fod hyd y nod Cromwel ei hun wedi caniatâu gradd helaeth o erlidigaeth leol ar y "sect y dywedir yn ei herbyn" yn mhob oes. Bu hyn yn fustl chwerwder iddynt hwy tra yr oedd ereill yn sugno mêl uchel swyddau a thaliadau y llywodraeth, gan ymfawrygu yn mhresennoldeb gwenau y llywodraethwyr. Fel na thybier ein bod yn sefyll ar sylfaen dywodlyd yn y peth hwn, cyfeiriwn y darllenydd at *Crosby's Baptists*, cyf. i. tud. 221—240, arg. 1738, lle y gwel hanes carchariad, &c. y personau canlynol am fedydd trochiad, sef Henry Denne, Mr. Coppe, Andrew Wyke, a Samuel Oates, yr hwn a osodwyd ar brawf *am ei fywyd* un tro, a thro arall a daflwyd i afon i'w foddi. Cymmerodd hyn le pan oedd Cromwel yn uchel ei awdurdod yn y Senedd, ond anhawdd genym gredu, pe buasai yr awdurdod yn gwbl yn ei law ei hun, y buasai yn gosod yr egwyddor erlidgar yn ei llawn rym. Am y tymhor hwn yr ysgrifenodd Mr. Hutchison y desgrifiad canlynol o'r Bedyddwyr,—" Nid oedd eich dechreuad yn y cenedlaethau hyn, yn y blynyddoedd diweddaf, ond bychan; eto pan fu boddlon gan yr Arglwydd wasgaru y cymmylau oeddent wedi ein gorchuddio, gan lewyrchu o belydrau yr efengyl yn ein plith, efe a roddodd y fath gynnyrch arnoch fel y gall Sion ddweyd gyda boddineb, 'Pwy a genedlodd y rhai hyn i mi?' &c. Ac nid yw idd ei gadw yn anhysbys, tra y mae diwygiadau (*reformations*) wedi cael eu dwyn yn mlaen gan y fraich wladol, a nodded a chaniatâd yr Ynadaeth, megis yn amser Luther, gan yr amrywiol dywysogion Ellmynaidd; y diwygiad Protestanaidd yn Lloegr, gan y brenin Edward, y frenhines Elisabeth, &c.,; y diwygiad

Presbiteraidd gan y Senedd, cyfeisteddfodau llywodraethol, Cynghorfa y Duwinyddion, a ffafr a chynnorthwy gwyr uchelog; *nid ydych chwi wedi cael neb o'r rhai hyn i ymaflyd yn eich llaw:* ond bu eich cynnydd yn erbyn hyli rhuthrol gwrthwynebiad dynol, yn gydfynedol a'r fath ddigalondid allanol, fel y llefara yn eglur eich bod wedi cofleidio y gwirionedd dirstyredig hwn fel ffrwyth symledd calon, yn absennoldeb pob ystyriaeth fydol. Ie, pa mor ddiwyd y mae cyhuddwr y brodyr wedi bod i'ch arddangos yn y fath agweddau arswydol, gan eich gosod yn agored drwy y ddyfais hòno i bob gwawdiaeth boblogaidd, ac i wialen yr Ynadaeth, a hyny i gymmaint o raddau fel yr oedd yr enw Ailfedyddiwr yn drosedd digonol, yr hyn yn ddiamheuol a fu yn rhwystr gordrwm i lawer enaid duwiol. A pha faint sydd gan ein brodyr Ymneillduol i ateb am dano ar y cyfrif hyn; y rhai yn lle codi oddiar y ffordd, a osodasant feini rhwystrau ar ffordd y Diwygiad, a ymddengys mewn dydd i ddyfod. Eto, er gwaethaf gwrthwynebiadau ymdrechgar y rhai uchel a dysgedig hyn, darfu i Dduw galluog Jacob eich cymmeryd erbyn eich llaw, a dywedodd, 'Byddwch gadarn.'" (Crosby, cyf. i. tud. 241.)

Fel yna, o ganol tân llosgadwy gwawdiaeth ac erlidigaeth, fel y Phœnix anfarwol, yr ymgodai bedydd trochiad, ac y chwareuai ei adenydd yn gyflym, drwy Loegr a Chymru, gan dynu ei nerth yn unig o Air Duw, a ffydd yn yr Esiamplydd dwyfol: ond digon oedd hyny, ar gynnydd yr aeth y Bedyddwyr trwy bob gwrthwynebiad uniongyrchol, ac er cael eu rhwydo gan gymmundeb cymmysg.

Angenrheidiol yw i ni fanylu ychydig yma am sefyllfa crefydd yn Nghymru. Yn 1641, dywedir nad oedd ond ychydig iawn o wir grefyddwyr, na braidd gynnifer ag un pregethwr Ymneillduol ar gyfer pob sir yn y Dywysogaeth. Ond yn 1646, cafodd Mr. Fafasor Powel ei awdurdodi gan y Senedd, (Gwel Hanes ei Fywyd, tud. 18, arg. 1772,) i ddyfod i bregethu i Gymru; ac yn Chwefror, 1649, gwnawd yr "*Act for the better Propagation of the Gospel in Wales,*" gan yr unrhyw awdurdod. Yr oedd Mr. Fafasor Powel a Mr. Jenkin Jones a'u henwau yn y Weithred hòno. At hyn, yr oedd Olifer Cromwel yn ddyn crefyddol, ac fel y credwn, yn ofni Duw. Darfu iddo ef a'i gydweithwyr ymdrechu symud y gwarth oedd *yn gorphwys ar grefydd* y wladwriaeth, drwy ddylanwadu

ar y Senedd i gael symud yr offeiriaid diffrwyth ac anfoesgar drwy y wlad, a gosod pregethwyr o ddawn, gwybodaeth, a buchedd, yn eu lle. Trwy hyn, trowyd llu mawr o'r offeiriaid o'r eglwysi plwyfol drwy Gymru. Gwelir yn awr fod y Senedd wedi gafaelyd yn yr holl awdurdod a'r meddiant eglwysaidd, ac yn gwneuthur fel y mynent a hwynt. Rhai prydiau, hyd y nod tua 1641, rhoddid awdurdod i'r plwyfau i ddewis gweinidog i'r eglwys, a chytuno am ei gyflog. Wedi i'r Senedd ddyfod i'w grym, yr oedd pregethwyr o Bresbiteriaid, Anymddibynwyr, a Bedyddwyr, yn gymmeradwy gan y lywodraeth; ac felly, y rhai o honynt oedd foddlon i dderbyn tâl y lywodraeth, ac oeddent gymmeradwy o ran y cyfaddasiadau, a osodwyd *fel* offeiriaid yn yr eglwysi plwyfol. Derbyniodd y rhan fwyaf o honynt y telerau hyn, yn enwedig gan nad oedd caethiwed yn cael ei osod ar eu golygiadau a'u harferion crefyddol. Hawdd fyddai i ni eu beio am hyn; ond pan ystyriom rym y caethiwed blaenorol, melusder y rhyddid a gynnygid, y cyfleusderau a roddai yn eu golwg hwy i wneyd daioni, ac i sefydlu gwir grefydd yn y wlad, nid rhyfedd fod y rhai ni welent yn mhell i'r dyfodol yn cymmeryd gafael yn y cyfleusdra. O herwydd y telerau hyn, bu Mr. John Myles yn gweini yn eglwys plwyf Ilston, Mr. D. Dafis yn Nghelligaer, a gwr o'r enw Watkin Jones, yn Mhedwas, Mynwy, (Bedyddwyr,) yr hwn a drodd y fedyddfa yn gafn dwfr i ddisychedu yr anifeiliaid. A llawer o bregethwyr ereill a ellid eu henwi.

Ond nis gallwn gyfiawnhau ymddygiad gweinidogion yr oes yn ymgysylltu, fel y cyfryw, â'r llywodraeth. Dyma gyfeiliornad gorfawr y tymhor; dygodd ei ffrwythau naturiol yn ol llaw, ac yr ydym fel Ymneillduwyr wedi dyoddef o'i herwydd hyd heddyw. Cawsant gyfleusdra i sefydlu Anymddibyniaeth crefydd, ac O! drueni na ddarfu iddynt ganfod yr agoriad. Nid yn unig collasant gyfle anmhrisiadwy, eithr rhoddasant ffrewyll yn nwylaw eu gelynion hyd heddyw, y rhai a ddywedant oddiar hyn, pe byddai i'r enwadau gael gafael ar daliad y llywodraeth, y gwerthent eu hanymddibyniaeth am byth. Eithr os darfu i luoedd warthruddo eu hunain,* darfu i ereill sefyll

* Darfu i berson yn ddiweddar, (yn awr offeiriad,) a ddysgwyd ar draul y Bedyddwyr, argraffu Cofrestr o'r pregethwyr a fuont yn offeiriaid felly, gan feddwl yn ddiamheuol daflu gwarth ar yr Ymneillduwyr. Y mae hyn yn ein cofio am y desgrifiad a welsom o Satan, yr hwn pan y mae yn dannod eu duwch i *ereill, sydd yn* anghofio ei fod yn desgrifio ei liw ei hun.

fel tyrau ansigledig; a phan ddaeth yr Adferiad, cafwyd gweled hefyd fod nifer y gwyr cydwybodol yn fawr, a dyoddefasant hyd at farw dros eu hegwyddorion. Y mae eu henwau yn deilwng o anfarwoldeb.

Yn ngwyneb y rhyddid Seneddol, hawdd gwybod fod y saint crwydredig yn cymmeryd calon, ac iddynt yn fuan ymgasglu at eu gilydd mewn llawer man heblaw yn sîr Forganwg, gan ymgorffoli yn eglwysi i Fab Duw, a chodi baner y groes yn uchel er casglu yn nghyd fyddinoedd Sion. Yr ydym yn awr yn brysio i gofnodi gair am

## EGLWYSI ILSTON AC OLCHON.

Gyda golwg ar sefyllfa ac oed eglwys Hengoed, y mae Mr. Josh. Thomas, yn ei ysgrif-lyfr, yn gosod dwy ereill i'w rhagflaenu, sef Ilston ac Olchon. Yr oedd yr olaf, yr hon a elwir yn bresennol Capel-y-ffin, o fewn terfynau sîr Henffordd, ac felly y tu allan i gylch y Dywysogaeth. Gelwid Olchon, mewn amser dyfodol, dan yr enwau Llanigon a'r Gelli. Cymraeg a arferid yma, hyd y nod yn nyddiau Mr. Thomas. Dyddia ef gasgliad cyntaf yr eglwys yn Olchon yn 1633; ond ychwanega, "Pa bryd y cawsant eu bedyddio a'u ffurfio yn eglwys o Fedyddwyr, nid wyf erioed wedi cael allan i foddlondeb, er i mi chwilio mor ofalus am hanner can' mlynedd." Yn mhellach yn mlaen y mae efe, allan o'r "Extracts,"* yn gosod dyddiad eglwys Olchon, sef wedi ei chorffoliad yn eglwys o Fedyddwyr ddigymmysg gan Mr. John Myles, tua chanol "Chwefror, 1650." Mr. Thomas a ddywed, "Yma, ar y cyfan, yr wyf yn cyfrif fod yr Eglwys Ddiwygiedig, yr Ymneillduwyr, a'r eglwys o Fedyddwyr cyntaf yn Nghymru."

Eithr yn ei ysgrif-lyfr y mae Mr. Thomas yn rhoddi y flaenoriaeth i eglwys Abertawe, fel y dywed, "o barch i Mr. Myles ac eglwys Ilston." Diamheuol yw, mai dyma fam eglwys Bedyddwyr Cymru, yn ol eu cyfansoddiad presennol. Os yw yn bossibl gosod eglwysi bedyddiedig y Dywysogaeth i darddu oddiar un gwreiddyn, dyma y

* Sylwer, pan yr ydym yn defnyddio y gair "Extracts" yn yr hanes hon, yr ydym yn golygu Llyfr Cyfnodion cyntefig Eglwys Ilston, yr hwn a gymmerodd Mr. John Myles gydag ef i America, ac a adysgrifenwyd gan y Parch. Isaac *Bachus yno*, ac a ddanfonwyd ganddo ef i Mr. Josh. Thomas, yn 1792, yr hwn *sydd yn awdurdod ansigladwy.*

gwreiddyn hwnw. Y mae ei dyddiad wedi ei osod y tu hwnt i amheuaeth gan yr "Extracts," sef y dyfyniadau o lyfr yr eglwys ei hun. Dyddiad ei chorfoliad yw "Hydref 1af, 1649." Gwir hyfrydwch i ni fuasai rhoddi hanes rhyfeddol ddyddorol yr eglwys hon o'r Ysgrif-lyfr, pe buasai ein terfynau a'n hamcan yn caniatau; eithr rhaid gadael hyny i law ddyfodol; ond nis gallwn hebgor y talfyriad canlynol, yr hwn sydd i'n dyben presennol. Dyma fel y dywed yr "Extracts" am ddechreuad yr achos: "Nis gallwn lai nâ rhyfeddu yn barchus ddoethineb anchwiliadwy, gallu, a chariad Duw, yn nygiad oddiamgylch ei fwriadau ei hun, yn mhell uwchlaw a thu hwnt i alluoedd a dealldwriaeth y doethaf o ddynion. Fel hyn, er gogoniant ei enw mawr ei hun, y mae efe wedi ymddwyn tuag atom ni; oblegid tra nad oedd yn bodoli unrhyw gwmpeini neu gymdeithas o bobl yn dal allan a phroffesu athrawiaeth, addoliad, trefn, a dysgyblaeth yr efengyl, yn unol â'i gosodiadau cyntefig, ag y clywsom ni am danynt erioed, yn holl Gymru er amser y Babaeth, bu foddlon gan yr Arglwydd ddewis y gongl dywell hon i osod ei enw ynddi; ac i'n anrhydeddu ni, rai annheilwng, i fod y blaenaf yn yr holl barthau hyn, yn mhlith y rhai yr ymarferwyd yr ordinhad ogoneddus o fedydd, ac yma i gasglu YR EGLWYS GYNTAF o gredinwyr bedyddiedig."

Fel yr ydym wedi hynodi yr eglwys hon fel mam eglwys y Bedyddwyr Cymreig, hawdd, ar yr un awdurdod safadwy, i ni nodi sylfaenwr neu sylfaenwyr yr eglwys, ac felly i neillduoli tad neu dadau yr enwad o Fedyddwyr Cymreig presennol. Nid yw yr hanes yn rhoddi lle i ni bryderu mai yn flaenaf oll y saif Mr. JOHN MYLES, ac yn nesaf Mr. THOMAS PROUD. Noda yr "Extracts" eto, "y modd yr aeth Mr. John Myles a Mr. Thomas Proud i fynu i Lundain, yn y gwanwyn blaenorol, (sef blaenorol i Hydref, 1649,) a than gyfarwyddyd rhagluniaeth, y daethant at y gymdeithas fedyddiedig yn y *Glass House, Broad Street*, dan ofal Mr. William Consett, a Mr. Edward Draper. Bu hyn yn uniongyrchol wedi i'r gymdeithas hòno gadw diwrnod i ymofyn â'r Arglwydd, ac i weddio arno am ddanfon gweithwyr i gonglau tywyll y tir. Cafodd y teithwyr hyn eu derbyn yn roesawgar; ac yn fuan (yn mhen tua phythefnos) danfonwyd hwy yn ol i'w gwlad eu hunain drachefn, lle y buont yn offerynau i

gasglu eglwys o Fedyddwyr." Amlwg yw, mai yn eu hymweliad â Llundain y pryd hwn, y bedyddiwyd y ddau dad hyn, yr hyn, yn nghyd a chael gafael ar y drefn addoliadol bur, oedd y dybenion arbenig oedd ganddynt yn cychwyn, ac, ar draed digon tebyg, yn teithio 400 o filldiroedd. Dyma dadau Bedyddwyr Cymru yn eu ffurf bresennol. Symudodd Mr. Myles, o achos yr erledigaeth, i'r America, tua 1662 neu 1663, lle, wedi bywyd gwir ddefnyddiol, y gorphenodd ei yrfa 1683. Ond yn awr yr ydym yn prysuro at

## GORFFOLIAD EGLWYS HENGOED YN NGHELLI-GAER.

Fel y nodasom, pe buasai gwreiddyn unigol yn bodoli i eglwysi bedyddiedig Cymru, Ilston, yn y Browyr, Morganwg, oedd hwnw; eithr gall fod yn destun dadl, pa gyssylltiad sydd rhaid bodoli mewn trefn i wneyd eglwys newydd yn gangen briodol o eglwys flaenorol. Bydded i bob un foddloni ei hun ar y pen hwn. Yr unig beth a all wneyd Hengoed yn gangen o Abertawe yw, mai gweinidog o'r eglwys olaf, a fu yn casglu y dysgyblion yn nghyd, ac yn corffoli yr eglwys. Nid ydym ni yn y dyddiau hyn yn golygu hyn yn ddigonol i briodoli y cymmeriad o gangen i eglwys newydd; ac felly yr ydym yn penderfynu fod Celligaer yn fam eglwys, yr un fath a'i dwy chwaer Ilston ac Olchon. Yr oedd ei defnyddiau yn bodoli yn llawn mor foreu o'r hyn lleiaf a'r flaenaf.

Bwriadasom unwaith osod yma holl gamsyniadau hanes argraffedig Mr. Josh. Thomas, (1778 a 1780,) am Lantrisant a Llanafan, a'u cywiro un ac un; a nodi hefyd yn llym, am ddibrisdod a diofalwch anesgusodadwy Mr. Dafydd Jones, Caerfyrddin, yn ail-argraffu yr unrhyw wallau heb son am eu hanghywirdeb; eithr, gan rybyddio pob hanesydd am yr unrhyw er eu gochelyd, rhoddwn yr hanes yn y canlynol yn ol diwalliadau Mr. Josh. Thomas ei hun, yn ei Ysgrif-lyfr, lle y rhydd yr hanes yn fanol a chyflawn, hyd 1795, yr hon yn ei ysgrifen-law ei hun, sydd ger ein bron yn awr, ac a esyd bob math o amheuaeth tu hwnt i ddadl. Ond dealler mai nid adysgrifenu yn unig yr ydym yn ei wneyd, oblegid nid yw ein cynllun yn *cyfateb i eiddo* Mr. Thomas, eithr sylfaenwn yr hanes hon

ar yr eiddo ef, ac yn yr hanfodion rhoddwn eiriau ei Ysgrif yn gyfieithedig, canys yn y Saesonaeg y mae ei Ysgrif-lyfr ef, ac yn amlwg wedi ei fwriadu i'w argraffu yn yr iaith hòno.

Y mae yn anffortunus nad oes genym ddyddiad pennodol i'w roddi i gorffoliad yr eglwys. Nid yw yr "Extracts" yn gosod un dydd na mis pendant i lawr. Ond wedi chwilio yn fanol i'r amser, yr ydym yn ei osod yn dra dibryder o ddechreu Rhagfyr, 1649, hyd ddiwedd Mawrth, 1650. Fel y canlyn y dywed y dyfyniadau o lyfr eglwys Ilston: "Y pryd hyn," (sef yn nyddiau diweddaf 1649, neu y rhai cyntaf yn 1650, medd Mr. Thomas,) "cafodd Mr. D. Dafis beth ymddiddan a chynulleidfaoedd Celligaer a Mynyddislwyn" (yn yr eglwysi plwyfol) "yn nghylch bedydd; a danfonodd at y brawd Myles i ddyfod i Gelligaer; ac yno, os buasai iddo gael ei farnu yn deilwng, i weinyddu yr ordinhad arno ef. Yn awr, ni a ddanfonasom y brawd Myles a'r brawd Proud ar yr achlysur hwn; a'r brawd Dafid Dafis a fedyddiwyd y pryd hwnw; ac yna efe a ddaeth ac a ymunodd â ni. Cyn hir wedi hyn, darfu i'n Duw sydd yn gwneuthur rhyfeddodau, ddatguddio i ni waith yn cael ei ddwyn yn mlaen yn rhan orllewinol y sîr, (yr oedd Celligaer felly o Abertawe,) lle yn gyntaf (neu flaenorol, '*where first*') yr oedd rhai wedi eu bedyddio, a'u cyssylltu mewn brawdoliaeth yn Nghelligaer, pryd yr oedd y brawd Dafis a'r brawd Myles yn wyddfodol. Ac wedi hyn, darfu i'r brawd Myles a'r brawd Leyson Dafis, wedi cael eu danfon gan yr eglwys hon, yn nghyd a'r brawd Dafid Dafis, a'r brawd Thomas Watkins, o eglwys y Gelli, fedyddio nifer luosog yn Llansantffraid, ac ychwanegwyd hwynt at y brodyr rhagenwedig yn Nghelligaer; a'r ddau ddosparth wedi eu cyssylltu fel hyn yn nghyd, a benderfynasant i gyfarfod yn Llanharan; felly y gosodwyd i fynu ganwyllbren aur arall yn y parthau tywyll hyn." Yna y mae Mr. Thomas yn ychwanegu, "Dyma yn eglur y drydedd eglwys, yn cynnwys dwy gangen, un yn mhlwyf Celligaer, yn rhan ddwyreiniol y sîr, ac ar gyffiniau sîr Fonwy; a'r llall, fel y mae yn naturiol i gasglu, yn y deau-orllewinol, ac felly Llanharan oedd y lle mwyaf cyfleus i'r ddwy ran gyfarfod, yr hwn le oedd tua deg milldir o Gelligaer." Felly, dyna ddigonol brawf mai yn mhlwyf Celligaer y

cafodd yr eglwys ei chorfffoli, ac mai yn ol penderfyniad yr eglwys yno, er mwyn cyfleusdra, y cyfarfyddodd wedi hyny yn Llanharan.

Dalier sylw gan hyny, y dywedid uchod yn bendant am Gelligaer, "Lle yn flaenorol," sef yn flaenorol i Lansantffraid, "yr oedd rhai wedi eu bedyddio, a chwedi eu cyssylltu neu eu huno ("*joined*") mewn brawdoliaeth, ("*fellowship.*") Dyna gorffoliad yr eglwys: y cwlwm na thorwyd hyd heddyw! Yna ychwanegir, "Pryd yr oedd y brawd Dafis" (Dafid Dafis a olygir) "a'r brawd Myles yn wyddfodol." Dyna y ddau frawd anwyl a fuont yn gweini yn nghorffoliad yr eglwys hon; yn gosod y fodrwy briodasol oddiwrth eu Priodfab nefol, yr hwn sydd wedi parhau yn ffyddlon i'w briodasferch hyd yr awr hon! Drwy y cofnodion hyn, y mae y ffeithiau hyn wedi eu gosod y tu draw i amheuaeth. Felly, gwelir mai camsyniad hollol yw, mai yn Llanharan y corffolwyd yr eglwys hon; eithr yn yr un tir ag a gwreiddiodd gyntaf, y mae y gedrwydden ffrwythlon hon wedi blaguro drwy yr oesau, ac y mae miloedd o adar y nef wedi ymgysgodi yn ei changenau hi: * "Preniau yr Arglwydd sydd lawn sugn; cedrwydd Libanus, y rhai a blanodd efe, lle y nytha'r adar." Psalm. civ. 16.

Gwyddom y byddai yn hoff gan drigolion serchog Celligaer, a chynnulleidfa Hengoed, gael gwybod yn mha fan, yn mha dŷ, neu fe allai ysgubor, y cymmerodd hyn le. Ond gormod gorchwyl yw hyny; nid yw hanes yn taflu goleuni ar y *spot:* eithr os rhaid rhoddi tybiaeth, y mae traddodiad yn ein tywys at ardal yr Ysgwyddgwyn fel y lle mwyaf tebygol.

O barth y personau a ffurfiasant aelodau cyntaf yr eglwys, nid ydym yn foddlon i fyned yn fanylach nag y mae hanesiaeth eglur yn ein tywys. Barnu yr ydym y gallai y personau canlynol fod yn mhlith y cyfryw: Thomas Joseph, Howell Thomas, Thomas John, a William Dafis, am y rhai y gwelir peth hanes yn ol llaw, a barnwn eu bod yma ar y dechreu. Nid oedd Dafid Dafis yn cael ei gyfrif felly, oblegid ymadawodd â Chelligaer ar ei fedyddiad, ac ymunodd ag Ilston.

Pa nifer oeddent? sydd ofyniad naturiol arall ag nas gallwn ei ateb yn foddlonol. Barnwn eu bod yn rhai

* *Gwel* y Darlun yn y dechreu, gan y Parch. R. Williams.

degau, ac nid hir y buont yn cyrhaedd rhai ugeiniau, feddyliem; canys ymddengys i ni, iddynt yn fuan fod yn alluog i roddi ychydig daliad tuag at gynnal y weinidogaeth; ac ymdaenodd cyssylltiadau yr eglwys gyda chyflymdra, nes oedd ei haelodau yn wasgaredig nid yn unig yn Nghelligaer a Llansantffraid, eithr drwy blwyfau Bedwellty, Mynyddislwyn, rhai yn Llanfaches, yn sîr Fonwy, a Merthyr Tydfil, Llanfabon, Eglwysilan, Llanharan, a Llantrisant, ac yn mhellach i lawr tuag at ardal Penybont-ar-Ogwr.

Yn ol y dyfyniad blaenerol, gwelir na pharhaodd yr eglwys i gyfarfod yn Nghelligaer am braidd dim amser; canys wedi i'r brodyr o Llansantffraid a Chelligaer gael eu "cyssylltu yn nghyd, penderfynasant i gyfarfod yn Llanharan." Tra fu yr eglwys yn cyfarfod yma, cymmerodd amryw bethau pwysig le gwerth eu nodi, ac y mae yr hanes yn safadwy am danynt.

## YR EGLWYS YN LLANHARAN.

Priodol i ni olygu fod yr eglwys wedi ei sefydlu yn Llanharan cyn canol yr haf, 1650. Pa le yr oedd yn cael ei chynnal yno, nid oes un math o wybodaeth; ond dechreuodd Satan ruo, medd yr "Extracts," ac iddynt gael eu bygwth yn chwerw yn ddioedi ar y sefydliad hwn o'r eglwys: ar yr hyn, ni a neillduasom ddiwrnod i ymofyn a'r Arglwydd yn nghylch amryw bethau. A'r hyn sydd yn dra nodedig yw, i'n brawd Myles, yr hwn oedd yn cael ei fygwth yn benaf, fyned y dydd nesaf wedi i ni geisio felly yr Arglwydd, at yr ynad ag oedd yn ddiweddar wedi ei fygwth felly, ac efe a'i cafodd yn dra chariadus a hynaws; ie, ac o'r dydd hwnw hyd yn bresennol, trwy drugaredd, y mae Duw wedi attal eu hamcanion yn erbyn neb o honom, fel yn y mesur lleiaf i'n harcholli a'n rhwystro."

Yn mhellach, y mae yr "Extracts" yn cofnodi y gynnadledd neu gymmanfa o eglwysi Ilston, y Gelli, a Llanharan, a gynnaliwyd yn Nghaerfyrddin ar y 6ed a'r 7fed o Dachwedd, 1850. Yno nodir "y gosodiadau a'r trefniadau a wnawd gan aelodau dwy eglwys y Gelli a Llanharan, wedi cyfarfod yn Ilston," yr amser uchod; "y rhai a ddanfonwyd yno gan yr eglwysi a enwyd, at y brodyr yn Ilston, i gydymgynghori â hwynt o berthynas i'r cyf-

ryw bethau ag y bydd iddynt drwy gymhorth Duw eu penderfynu, ac a enwir yma." Yn mhlith pethau ereill, dywedant, "Ac wedi yr unrhyw ystyriaeth ddifrifol o sefyllfa y brodyr yn Llanharan, y mae yn cael ei olygu yn briodol gan y brodyr yma, fod cynnulliad parhaus yn cael ei gynnal yno gan yr eglwysi, nes y byddo i'r Arglwydd godi brodyr mwy galluog yn eu plith eu hunain; a bod y brawd Dafis yn cael cais i fod yn wyddfodol yno mor aml ag y byddo bossibl iddo: ond pan y byddo ef dan yr angenrheidrwydd o fod yn Nghaerfyrddin, yna fod ein brodyr o'r Gelli yn cael dymuno arnynt fod yn ofalus i ddanfon y brawd Prosser, neu y brawd Thomas Watkins, neu rhyw un arall a farnont yn gyfleus. Ac yn mhellach, gan ystyried y cyfryw frodyr ag ydynt i lafurio yn y weinidogaeth yr ydys yn ystyried yn rheidiol, gan hyny gofynir fod y swm o £30 yn cael ei godi gan yr eglwysi, yn gyfraniadau cyfartal, £10 yn mhob eglwys, at gynnaliaeth y weinidogaeth." Yna darparant fod un brawd o bob eglwys i ofalu am yr arian; fod y casgliad i gymmeryd lle yn chwarterol; fod y brawd Prosser, o herwydd ei lwyr ymroddiad i'r weinidogaeth, i gael £25 y flwyddyn o honynt, a'r £5 arall i'w talu yn ol ewyllys yr eglwysi. Bernir wrth hyn fod y brodyr Myles, Dafis, a Proud, yn derbyn tâl y lywodraeth, medd Mr. Josh. Thomas. Hefyd, dyma y gymmanfa gyntaf a gynnaliwyd yn Nghymru a Lloegr, oddieithr yr un o saith eglwys yn Llundain. Amlwg hefyd yw, oddiwrth yr "Extracts," fod y gymmanfa uchod wedi ei chynnal drwy ymgynghoriad ystyriol rhagflaenorol yr eglwysi; oblegid dywed, "Y tair eglwys hyn wedi eu sefydlu felly, y mae daioni yr Arglwydd yn cael ei helaethu tuag atom ni, fel y maent wedi ychwanegu yn fawr iawn, a'u sylfaenu, yn gystal mewn doniau ag aelodau, er mawl i'w enw mawr. A chwedi eu sefydlu felly i fesur, trwy ras, hwy a feddyliasant pa fodd i ddwyn yn mlaen y gwaith yn Nghymru; gan hyny, hwy a benderfynasant yn unfrydol fod iddynt ar y 6ed a'r 7fed dydd o'r 9fed mis, 1650, gynnal cyfarfod cyffredinol yn Ilston, o aelodau pob eglwys." Dyma dystiolaeth eglur am gynnaliad y gymmanfa gyntaf, ei chyfansoddiad, a'i dyben.

Yn y flwyddyn hon, danfonwyd llythyr gan eglwys y *Glass House* at y tair eglwys, ond nid oes dyddiad iddo. Y nesaf a ysgrifenodd y fam eglwys ymgeleddgar hono,

oedd at yr eglwys ieuaingc yn Llanharan, dyddiedig y "12th of the 11th Month, 1650,"* sef Ionawr 12fed, 1651; ond nid oes genym ddim o'i gynnwysiad yn mhellach na'i fod wedi ei arwyddo gan "William Consett, (y gweinidog,) Samuel Larke, Peter Scutts, Robert Bowes, Robert Doyle, Edward Roberts, T. Harrison, Richard Bartlett, Henry Grig, Edward Greene, John Brady, Edwart Druit."

Gyda hyn y mae hanes y flwyddyn 1650 yn gorphen, a rhaid cofnodi mai blwyddyn ffrwythlon ydoedd; blwyddyn y planu gan y Pen-gwinllanwr, a blwyddyn casglu y praidd gwasgaredig i'w corlanau; canys llawer o eglwysi heblaw eiddo y Bedyddwyr a sefydlwyd yn Nghymru; a gellir mewn rhyw ystyr gynnal pummed Jubili yr holl enwadau drwy Gymru yn y flwyddyn 1900.

Bu cyfarfod o'r eglwysi yn Llanharan, yn y rhan flaenaf o'r flwyddyn 1651, ond nid yw ei hanes ar gael.

O hanes cyfarfod, neu gymmanfa, a gynnaliwyd yn Nghaerfyrddin, y 19eg o'r mis 1af, 1651, yr ydym yn tynu yr hyn a ganlyn. Yr oedd yr eglwys hon wedi ei dwyn i fodoliaeth yn y flwyddyn flaenorol, trwy lafur y brawd Dafid Dafis ac ereill; ond ni pharhaodd ond ychydig wedi dechreu yr erledigaeth; ac nid oes neb a all adrodd pa faint a ddyoddefodd y brodyr ffyddlon yno. Yn y gymmanfa uchod, yn mhlith pethau ereill, "trefnasant yn unfrydol, fod y brodyr a ddanfonwyd allan flaenaf yn cael deisyfiad i gymmeryd gofal neillduol, fod y pedair eglwys yn cael eu llanw mor bell ag sydd ddichonadwy â gweinidogaeth barhaus; ac i'r dyben hwnw, y maent yn dymuno fod y brawd Walter Prosser i fod yn Nghaerfyrddin dri dydd cyntaf (y Sabbath) o'r wythnos yn mhob wyth wythnos; a'r brawd D. Dafis ddau ddydd cyntaf; a'r brawd Myles un dydd cyntaf; a'r ddau ddydd cyntaf ereill yr oeddent i fod heb un weinidogaeth gyhoeddus. Hefyd, pan fyddai y brawd Prosser yn absennol o Gaerfyrddin, fod y brawd Myles i fod un dydd cyntaf yn y Gelli, a'r brawd Dafis un arall, fel na buasai i'r lle gael ei fychanu, na'r eglwys gael ei rhwystro gan absennoldeb y brawd Prosser. A thra y byddo y brawd Dafis yn y Gelli, fod rhyw frawd o'r eglwys hóno gael ei ddanfon i Gelligaer

* Felly y desgrifid yr amser gan yr eglwysi yr oes hono; ac y mae i'w gyfrif bob amser ddau fis yn y blaen.

neu Lanharan; ac fel na byddo yr eglwys yn Llanharan yn cael ei rhwystro trwy absenoldeb y brawd Dafis tra yn Nghaerfyrddin, yr ydys yn trefnu fod y brawd Prosser i fod un dydd cyntaf, a'r brawd Myles un dydd cyntaf arall yn Llanharan neu Gelligaer, neu yn y cylchoedd hyny, lle y byddo yn cael ei olygu yn fwyaf cyfleus. Gyda hyn yr oedd y brodyr gweinidogaethol i gydymgynghori a chytuno am y prydiau yr oeddent i fod yn y gwahanol leoedd. Yna trefnasant pa fodd yr oedd treulion teitho i gael eu talu. Ystyriwyd rhai gofyniadau hefyd o berthynas i ganu yn yr addoliad dwyfol, a gosod dwylaw.

Oddiwrth gynnwysiad y dyfyniad uchod, gwelir yn amlwg ddull, trefniad, a chynnaliaeth y weinidogaeth. Yr oedd y gweinidogion megis yn feddiant cyffredinol, a'r gyflog yn myned i'r mwyaf anghenus. Y mae y trefniad yn arwyddo brawdgarwch o'r fath buraf, a'r gofal mwyaf am gysur, cynnydd, a chryfhad yr eglwysi, yn gystal a chynnydd yr achos yn gyffredinol. A chyda golwg ar eglwys Hengoed y pryd hwn, gwelir yn eglur fod y ddau ddosparth, sef Celligaer a Llanharan, yn cael eu neillduoli hyd yn hyn, neu fod yr eglwys yn myned braidd dan y naill enw neu y llall. A hefyd, teg yw nodi, er mai hi oedd yr ieuangaf o'r eglwysi, ei bod yn ddigon cryf i ddwyn rhan gyfartal o'r treuliadau.

Gyda yr hyn ag ydym wedi ei ysgrifenu, y mae hanes yr eglwys yn Llanharan yn gorphen; felly nid oes lle i ni feddwl iddi letya yma ond o gylch dwy flynedd o amser, canys yr ydym yn cael

## YR EGLWYS YN LLANTRISANT, MORGANWG,

Sef yn nghymmydogaeth Llanharan, yn mis Hydref, 1652. Sylwer eto nad ydym yn cymmeryd amser ein darllenwyr i gywiro hanes argraffedig Mr. Josh. Thomas: digon dweyd yma unwaith am y cwbl, na fu yr eglwys hon yn cyfarfod nac yn perthyn i Lantrisant sîr Fonwy erioed.

Paham y symudodd yr eglwys o Lanharan i'r hen dref hon, nis gwyddom. Gellir tybied y gallasai fod y gynnulleidfa wedi lluosogi, a'r tŷ yr oeddynt yn cyfarfod ynddo yn rhy gyfyng; neu fod y dref yn fwy poblogaidd, yn nghyd a bod yno neuadd gyfleus a helaeth i gyfarfod yn eithaf *cyhoeddus*. Yn hyn nid yw hanes yn ein goleuo.

Yr ydym yn cael fod yr eglwys yma yn ysgrifenu llythyr at eglwysi Ilston, y Gelli, a Chaerfyrddin. Y mae yn ddyddiedig "Llantrisant, 17th 8th mo., 1652," sef Hydref 17eg, 1652, ac yr ydym yn ei roddi yma yn gyflawn fel yr ysgrifenwyd ef:

"Honoured and Endeared Brethren,—We bend our knees to the Father of our Lord Jesus Christ, that he goes along the countries enlarging the kingdom of his dear Son, delivering souls that were held captive under Satan, who is called the God of this world, and the prince of the power of the air. Oh, the admirable love of God to us! that he should bring us from darkness to light, from the power of Satan to God, to receive remission of sins, and an inheritance among those who are sanctified thro' the faith that is in Jesus! that he should fetch us home when we wandered from him, and manifested himself to us, who were alienated from the life of God thro' ignorance that was in us, because of the blindness of our hearts! He hath made us near to himself to be sons and heirs of God in Christ, who were afar off, even enemies and strangers to the covenant of promise. Our good God give us hearts to consider the wonderful things he hath done for us, and the inestimable things he hath promised unto us! that we may be wise and watchful, how to walk worthy of such great mercies. Dear brethren, it behoveth you and us to consider whether the goodness of God leadeth us, and whether we are bettered thereby. Does it lay any ties or engagements on our spirits to keep close to the Lord, and to walk more holy before him; seeing the Holy Ghost hath told us, 'This is the will God, even your sanctification.' Indeed, we have great cause to mourn and to walk humbly with our God in the sight of our manifold failings and frailties; that our corruptions are so strong, and our graces are so weak; that our God is so full of mercies to us, and we so empty in thankfulness to him; that he has done us so many honours about us, in upholding, sparing, and protecting us against all men's imaginations that were designed against us! But oh! we have little honour to God; we have been wanting to God, to ourselves, and to one another in sundry duties in our several stations. Let the word of the Lord be dear and precious to your souls, by which you were called to the knowledge of God the Father, and of his Son Jesus Christ. In all your actings let your candle be lighted up by the word, as Daniel made it a lanthorn to his feet and a light to his path; so shall you be taught how to walk one toward another, and towards all men, and how to order the church of Christ. If your knowledge and gifts be increased, let grace humble you, lest jealousy swell you up. O that the Lord would teach you and us to condescend one to another in things indifferent, minding the council of the apostle, none to please himself, but every one to please another. Take heed of judging one another as void of grace upon every failing, lest all fall to judge one another as carnal, and so bite and devour one another till you be consumed one of another; for it is not one act that makes one gracious, nor one failing makes one ungodly. Let there not be such a spirit among you that *strives to prepossess* others against a brother or sister, to work preju-

dice or hard thoughts one against another, for that may divide the hearts of saints, and if our hearts be divided we shall be found faulty; Hos. x. 2.; and the grace of love will be lost among us. In the word we are advised to love one another, and that all our things be done in love. Saith the apostle, 'Love envieth not, thinketh no evil, suffereth long, is kind, doth not behave itself unseemly, is not easily provoked:' 1. Cor. xiii. 4, &c. O dear brethren! cry to the Father that this grace may abound in and among us; so shall we have much joy and delight in the society of each other, and be amiable in the sight of others, so not lie open to Satan's onsets; for it is his design to make breaches, and to enter in at all the breaches he hath made, to hinder the peace of the churches. Beware of watching faults in each other, but watch over one another in love to prevent faults. Watch to see corruptions in yourselves, so will you be humble in yourselves and tender towards others. If some grace appears among many weaknesses in a brother, let the sight of that grace stir your affections to endeavour in love to recover the brother from his corruptions, and be not embittered by his weaknesses to deny or disown that grace which is to be seen in him. It is rich mercy that grace is to be seen in a brother: and we must consider there is more corruption than grace in the best. Let all the gifts and graces that God hath given unto you be employed to the edification of the body. Obey them who have the oversight of you, and esteem them for their work sake. Let not discipline be slackened or neglected among you. Let not him that hath five talents despise him who hath but two; and let not him that hath two annoy him that hath five. Let every member study how to serve the body in his place and calling. Let not the foot say, because I am not the eye, or the ear, therefore I am not of the body. Take heed of being wanton under mercies received; search the word and your own hearts, to bring them both together, and be not wise above that which is written. We the rather take occasion to call these things to mind to you and to ourselves, because of the evilness and watchfulness of the enemy to work upon any distemper that may arise in or among you or us; for Satan is busy here with us, presenting his designs afresh, seeking to delude unstable souls, and if it were possible, to deceive the elect, to slight and suspect the ways and word of God, and the ordinances of our Lord Jesus Christ. Therefore, dear brethren, let us cleave close to the Lord, his word and ordinances, and to each other, through whose grace we stand unshaken against the power of Antichrist; and the Lord is adding to us such as believe. Now, dear brethren, desiring you to mind us before your and our Father, that he will continue his goodness to us, and pour of his spirit of grace upon us, that we may stand unmoved, and go on in the wisdom and power of his spirit to bear witness to his truth, as we shall likewise for you,—we commit you to God and to the power of his grace, to strengthen, settle, and stablish you in every good word and work, and rest, your brethren in the faith of Christ and fellowship of the Gospel,

"David Davies, Howell Thomas,
"Thomas Jones, Edward Pritchard,
"William Thomas, Thomas Evans."

Fel uchod, yr oedd yr eglwysi yn gohebu yn adeiladol, ac yn cynghori eu gilydd yn frawdol. Ceir llythyr cyffelyb oddiwrth eglwys Ilston a'r Gelli, a Chaerfyrddin, a'r Fenni, ar ol hyn. Ac yr oedd y fam eglwys yn y *Glass House*, Llundain, yn wir ofalus a chariadus yn hyn; ac yr oedd hyd y nod genhadau weithiau yn myned o'r naill i'r llall, er cynghori mewn amgylchiadau neillduol. Nid ydym yn cyfieithu y llythyr uchod, oblegid y bydd y rhan fwyaf o'n darllenwyr yn medru ei ddeall, a bod y lle yn gyfyng. Yn Saesonaeg yr oeddent yn gohebu ac yn cadw eu cofnodion yr amser hwn. Am yr enwau sydd wrtho, ceir gweled nodion am y personau hyn yn ol llaw. Tybiwn mai Mr. Dafid Dafis oedd ei awdwr mwyaf pennodol.

Yma yr ydym yn awr yn gorfod rhoddi ffarwel i'r "Extracts" o lyfr eglwys Ilston. Diolch am eu llewyrch hyd yn hyn; hebddynt buasai dechreuad achos y Bedyddwyr yn Nghymru yn aros yn nhywyllwch ebargofiant.*

Yn llyfr cofnodion y Fenni, y mae hanes Cymmanfa y pump eglwys, sef Ilston, Olchon, Hengoed, Caerfyrddin,

* Ond cyn ymadael â'r blwch o berlau hanesyddol anmhrisadwy hyn, rhaid rhoddi hanes am y modd y diogelwyd ac y trosglwyddwyd hwy mor ddigoll a diwall dros y Môr Werydd yn ol i'w gwlad eu hunain. Ar ddechreu yr erledigaeth, sef tua diwedd 1662, neu ddechreu 1663, pan aeth Mr. John Myles i America, aeth a llyfr eglwys Ilston gydag ef; ac yn Rehoboth, talaeth Massachusetts, cafodd Mr. Isaac Bachus, hanesydd cyntaf y Bedyddwyr yn America, afael yn y llyfr hwnw. "Yn ei hanes ef," medd Mr. Josh. Thomas, "yr hon a ddaeth i'm llaw tua diwedd y flwyddyn 1781, sef amryw flynyddoedd wedi argraffu fy hanes o'r Bedyddwyr yn Nghymru, gwelais gyfeiriad at lyfr eglwys Ilston. Yn ddioedi ysgrifenais at Mr. Bachus, am ddyfyniadau o hono. Caniatâwyd fy nghais yn benodol, ac yn fuan. Dyfyniadau helaeth a wnawd â llaw Mr. Bachus ei hun, yn 1784. Er fod y rhai hyn yn dra gwasanaethgar, etto, rhoddasant le i dybied fod mwy o hysbysiaeth i'w chael yno nag mewn un man arall ar wyneb y ddaear. Ar hyn, gwnaethum ail ymofyniad. Ac yma yr wyf yn ewyllysgar yn cydnabod i'r gwr da, Mr. Bachus, gyda pharodrwydd braidd anghyffelyb, adysgrifenu ychwaneg unwaith a thrachefn. Colliwyd ei holl lafur unwaith neu ddwy, drwy ddygwyddiadau anffodus yn y porthladdoedd. Pan ddeallodd hyny, efe yn y modd mwyaf cymmwynasol, a ymosododd ar y gorchwyl hirfaith o adysgrifenu drachefn, ac a ddanfonodd ddyfyniadau helaethion o'r llyfr cyntefig. Am y caredigrwydd nodedig, a'r dyfal barhad hwn, y mae ysgrifenydd y llinellau hyn am goffadwriaethu ei ddiolchgarwch a'i ymrwymiadau lluosog. Y mae diolchiadau yn ddyledus, nid oddiwrtho ef yn unig, ond hefyd oddiwrth bob un sydd yn ewyllysio yn dda i hanes y Bedyddwyr yn mhlith yr hen Frytaniaid. Y mae y llythyr a'r dyfyniadau olaf wedi ei ddyddio 1792." Dyna ddyfyniad o Ysgrif-lyfr Mr. Josh. Thomas, ac y mae yn yr ail dudalen o'r ysgrif, yr hyn a ddengys ei fod wedi ysgrifenu yr holl hanes hon o'r holl eglwysi yn Nghymru, rhwng y flwyddyn uchod a dechreu y flwyddyn 1796, ac y mae yn cynnwys 540 o dudalenau mawrion yn ei law ysgrifen ef ei hun. Felly gwelir, os yw ein dyled yn fawr i Mr. Bachus, rhaid ei bod yn mhob ystyr yn ddau-ddyblyg i Mr. Thomas, ac ni byddai cof-golofn yn cyrhaedd hyd gymmylau y nef yn rhy uchel na pharhaus i goffadwriaethu ein dyled iddo, fel Bedyddwyr a chenedl; ac yr ydym yma yn cymmeradwyo, ac yn tynghedu yr enwad, na bydd i unrhyw amgylchiad eu rhwystro yn ddioedi i bennodi rhyw berson neu bersonau addas i ddwyn *yr ysgrif* anmhrisiadwy hon drwy y wasg, yn nghlyn ag hanes *barhaol a sylfaenol* o'r eglwysi hyd y pryd hwn.

a'r Fenni, y 14eg a'r 15ed o Orph., 1653, lle y dywedir, "Ar gynnygiad yr eglwys yn Llantrisant i dynu yn ol y trefniadau blaenorol, gyda golwg ar gynnaliaeth y weinidogaeth yn Nghaerfyrddin, a chan ystyried sefyllfa wahanol yr eglwysi, penderfynwyd fod £10 yr hanner flwyddyn nesaf i gael eu caniatâu i William Thomas, yr hwn sydd wedi ei bennodi i fod un wythnos o bob tair wythnos yn Nghaerfyrddin; a bod £2 10*s*. yr un i gael eu codi gan Llantrisant a Chaerfyrddin, a £5 gan Ilston." Yr oedd Olchon i gynnorthwyo y Fenni. Tebygol wrth hyn, fod Llantrisant yn cyfranu mwy erbyn hyn i gynnal ei gweinidogaeth ei hun, ac felly yn analluog i gyfranu cymmaint at Gaerfyrddin; neu ynte fod y cyfraniad hwn i fod yn ychwanegol at y £10 yr oeddent yn eu gwneud at gynnal Dafid Dafis.

Cynnaliwyd cyfarfod cyffredinol nesaf y pump eglwys yn Aberafan, Mawrth 1af a'r 2il, 1654. Yma drachefn, penderfynwyd ar ddeisyfiad eglwys y Fenni, fod i Lantrisant ddanfon yn fynych y brawd D. Dafis, neu y brawd Thomas Jones, i Langybi neu yr ardal hóno. Yn yr un cyfarfod hefyd, trefnwyd fod Llantrisant yn nghyd a'r Gelli i gynnorthwyo y Fenni i gynnal ei gweinidog. Ac yma y mae y cyfarfod yn penderfynu i gynnal y gymmanfa nesaf "yn nhref Llantrisant." Gwelir wrth y penderfyniad blaenorol, fod Llantrisant yn dra chref erbyn hyn, oblegid ei bod yn cael galw arni i gynnorthwyo yn nghynnaliaeth Caerfyrddin a'r Fenni, yn gystal a'i gweinidogaeth ei hun.

Cynnaliwyd y Gymmanfa uchod ar y 30ain a'r 31ain o Awst yn yr un flwyddyn, sef 1654. Dyma y cyfarfod cyffredinol diweddaf y mae hanes am dano yn llyfr y Fenni. Yn y cyfarfod hwn, penderfynwyd amryw bethau yn nghylch eglwys Llantrisant, y rhai ydynt wedi eu cofnodi yno fel y canlyn: "1af. O berthynas i fod amryw frodyr wedi cyhuddo yr eglwys o weithrediadau anghyfiawn tuag at y brawd Dafid Dafis, nyni, wedi ystyried y mater gyda llawer o ddifrifoldeb, ydym yn penderfynu, fod y brodyr ynt yn cyhuddo yr eglwys yn gamsyniol yn hyny, ac na wnaethant lai na'u dyledswydd tuag at y brawd D. Dafis, yr hwn ni allwyd ei gael yn euog o'r hyn y cyhuddid ef o hono, yn mhellach nag iddo ddefnyddio rhai *ymadroddion* chwerwon wrth y brawd William Dafis, ac

am hyny a geryddwyd gan yr eglwys. 2il. O berthynas i fatterion yr eglwys, pellder yr aelodau, diffyg dysgyblaeth a llywodraeth, yr hyn sydd o angenrheidrwydd yn canlyn y diffyg o gyfarfodydd i ymgynnull yn aml; yr ydys yn dymuno fod iddi ymranu yn dair rhan, a bod gweinidogaeth a chynnaliaeth i'r unrhyw gael eu darparu i bob un o honynt; i'r amcan fod i'r brodyr gael eu hadeiladu, a'u llywodraethu yn well, ac arbed eu teithiau hirfeithion i gyfarfodydd yr eglwys, ac y byddai i'r gwaith fyned yn mlaen yn fwy llwyddiannus yn mhob dosparth o'r wlad, a heddwch a santeiddrwydd yn cael eu dyogelu. 3ydd. O herwydd yr eiddigedd mawr y mae Satan wedi ei achosi rhwng y brawd D. Dafis a llawer o'r brodyr, am yr hwn reswm nis gall ei weinidogaeth fod mor fuddiol yn y parthau hyn, neu yn eu plith hwy ag yn mhlith ereill, ac nas gall fod eu cydgymundeb mor adeiliadol; yr ydys gan hyny yn ei farnu yn gyfaddas i gymmeradwyo iddynt, fod i'r brawd Dafid Dafis gael ei ollwng oddiwrthynt; (a'r hyn y cydsyniodd y rhan fwyaf o'r eglwys ag oedd y pryd hyny yn wyddfodol. Ar hyn cafodd y brawd Dafid Dafis ei gynghori i ymgymmeryd i bregethu i'r byd, ac i fyned lle y byddai yr Arglwydd yn y modd egluraf yn ei alw.) 4ydd. Fod yr eglwys, er mwyn heddwch, i edrych heibio i bob tramgwydd oddiwrth bawb brodyr yn y terfysg diweddaf hwn; a bod i'r henuriaid eu hannog i heddwch, gan ofyn cyfrifoldeb yn unig oddiwrth y rhai, yn ol llaw, a barhant yn ystyfnig." Ac yn mhellach, penderfynwyd yn y cyfarfod hwn, fod eglwys Llantrisant i gyfranu £5 tuag at gynnal gweinidog y Fenni yr hanner blwyddyn nesaf.

Dywed Mr. Thomas fod y penderfyniadau uchod wedi eu hadysgrifenu bron yn llawn, o herwydd mai dyma yr hanes ysgrifenedig ddiweddaf oedd ar gael am yr eglwys hon.

Y mae yn gweddu i ni yma dynu rai casgliadau am sefyllfa yr eglwys ar y pryd hwn, yn enwedig gan ein bod yn awr yn tynu yn mhell yn hanes yr eglwys yn Llantrisant. Gwelir amryw bethau tra neillduol yn nghynnwysiad y penderfyniadau. Yn flaenaf y saif yr hyn ag oedd wedi tynu sylw y gweinidogion a'r cenhadon mewn modd gwir flinderus, y mae yn ddiddadl, sef, profedigaeth yr eglwys a'r achos yn gyffredinol, o herwydd yr anghydfod pwysig rhwng rhai brodyr â'r henuriad llywodraethol neu

brif weinidog yr eglwys. Y mae yr enw henuriad llywodraethol yn swnio yn rhyfedd i'n clybod ni; ond cofier fod y drefn Bresbiteraidd yn ffynu i raddau yn yr eglwysi yr amser hwn, er ein bod yn credu ei fod felly yn hytrach yn y llythyren, onite buasai y brawd D. Dafis wedi darostwng ei wrthwynebwyr drwy rym awdurdod ei swydd yn unig; eithr nid felly y gwnaeth, ond yn hytrach appeliodd ef a'i eglwys at y brodyr yn y Gymmanfa, ac ymostyngasant i lais eu cynghor hwynt yn dra ewyllysgar. Nid oedd ef wedi defnyddio ei awdurdod i ddiaelodi cymmaint ag un, feddyliem; ac amlwg iawn yw, er fod bustl chwerwder wedi ei daflu i mewn gan Satan, eto cawsant ras i gydymddwyn a'u gilydd i raddau gwerthfawr. Nid oes achos i ni yma fyned i mewn i'r achos o'r ymrafael, eithr tynu allan yn hanesyddol gyflwr yr eglwys. Yn ail, gwelir fod yr eglwys wedi cyfnewid yn fawr, o ran grym doniau yn gystal a nifer, er pan yr oedd y brodyr yn Nghaerfyrddin ys tua thair blynedd a hanner yn flaenorol, yn trefnu moddion gweinidogaeth i'r eglwys hon, gan ddysgwyl cynnydd doniau yn eu plith. Atebwyd eu gweddi, canys yr oedd yr eglwys y pryd hwn wedi cryfhau yn rhyfeddol. Drwy yr ail benderfyniad y mae hyn yn dyfod i'r amlwg yn neillduol, sef fod y gynnadledd yn cymmeradwyo i'r eglwys gael ei dosparthu yn dair rhan, a gweinidogaeth i bob rhan, (yr oedd ynddi dri neu bedwar o bregethwyr, hanes y rhai a welir eto.) Tybiai Mr. Thomas, mai Celligaer, Llantrisant, a Llansantffraid oedd y tri dosparth a gymmeradwyid. Yr ydym ninnau yn golygu hona yn dybiaeth gyfaddas iawn, er mai tybiaeth yn unig ydyw; oblegid nid oes cymmaint a thraddodiad ar gael fod y fath raniad wedi cymmeryd lle byth. Y mae y rhesymau a roddir dros y rhaniad hwn yn dangos fod maes yr eglwys yn eang iawn; felly yr oedd yn cyrhaedd y pryd hwn o leiaf o Fynyddislwyn yn sir Fonwy, i Ben-y-bont-ar-Ogwr yn Morganwg. Hefyd dengys fod yr eglwys yn lluosog a chyfoethog; canys y mae gweinidogaeth i gael ei chynnal i'r tri dosparth. Wrth yr enwau sydd yn y llythyr at yr eglwysi, tud. 18. ymddengys i ni fod y *Colonel* Pritchard o Lancaiach-fawr, a'r Cadben Evans, o Ddyffrynffrwd, yn aelodau yn yr eglwys yr amser hyn; y rhai oeddent yn ddynion o sefyllfa a chyfoeth. A sylwer hefyd fod yr eglwys nid yn unig yn cynnal ei

gweinidogaeth ei hun, ond yn cael galwad i gynnorthwyo mewn cynnal gweinidogaeth yn y Fenni, sef Llanwenarth wedi hyny. Gyda golwg ar yr ymraniad, fel y nodasom, nid oes hanes i hyny gymmeryd lle. Fe allai fod dylanwad yr ymrafael wedi achosi i'r cenhadau gymmeradwyo hyn, gan feddwl y gallasai fod yn well i ranu tipyn ar y pleidiau; ond gan na chymmerodd hyny le, a hyny yn ngwyneb y fath bellder ffordd, gellir tynu casgliad yn naturiol fod cariad brawdol yn gryf yn yr eglwys. Ond hefyd, fe allai i'r penderfyniad uchod mewn amser dyfodol, ddwyn ei effaith, ac mai oddiar hwn i raddau y symudwyd preswylfod dosparthiadau yr eglwys i Lanfabon a Chraig-yr-Allt. Gwelir mwy am Dafid Dafis a phregethwyr ereill yr eglwys yn eu hanes bersonol yn ol llaw. Rhoddwyd atebiad llawn i'r gofyniad, yn Aberafan, am ddyledswyddau aelodau eglwysig yn y Gymmanfa uchod.

Nid oes hanes ar gael am Gymmanfa, yn 1655, ac nid oes son am eglwys Llantrisant yn Nghymmanfa 1656, yn Aberhonddu; pa beth fu yn achos o hyn, nis gwyddom; eithr dywed Mr. Josh. Thomas fod pethau yn ymddangos fel pe buasai marweidd-dra wedi cymmeryd lle o 1655 i 1660, gan nad oes ond ychydig yn cael ei ddweyd am danynt yn y cofnodion yn llyfr y Fenni nac Ilston. Yn yr olaf y mae adysgrif o lythyr brawdol a ddanfonwyd gan yr eglwys yn *Dublin*, Ywerddon, at eglwysi Ilston a Llantrisant. Yr ydym yn ei roddi yma, ac wrth ei ddarllen, cofier nad oedd y cynghor yn ofer, canys cyn pen ond ychydig flyneddoedd daeth yr erledigaeth yn ei grym.

"Dublin, 12th 4th mo., 1656.

"DEAR BRETHREN,—We wish you more deep rooting and establishing in the faith, that no storms of persecution on the one hand, nor error and heresy on the other hand, may shake your faith. We thankfully acknowledge the good hand of God upon you in the multiplication of your number. The Lord multiply also your graces, that your faith may grow exceedingly: and the charity of every one of you all toward one another may abound. We are now in prosperous times: it will be your wisdom to prepare for a storm; for, brethren, whenever did you know the people of God long without persecution; yea, and that from the powers of the world? Mariners in a calm strengthen their tacklings against a storm comes. Besides ministerial teachings, we would commend unto you the use of good books; and take advice of some godly preacher what are fit to buy. Especially read the Scriptures, and study them; if ye also study your own hearts ye will do well. Be careful to preserve entire unity, not only in keeping

your communion together, but also in keeping your hearts together, sweetened in affection one to another without grudgings and murmurings. Let those who are rich among you strive to be large-hearted to the poor among you; and so much the more because of the present distress, and because of the great hatred of the world, which saints of our judgment endure. Be very wary against scandals, because where the gospel comes in power, the devil is wont to rage by scandals, to swallow up, if it were possible, the church of God. We shall desire you to follow after enlargement of heart, both in contributions towards the poor, and other church uses, and in the maintenance of them who dispense the word to you, that such dispensers may give themselves wholly to the work, remembering that he who soweth sparingly shall reap sparingly, in which duty some of us have observed your side of the water sundry persons, yea we fear churches have come short. Individuals and churches have since in England been very generous and liberal. We desire you to press on for an established ministry and eldership in your churches; and therefore in this be careful to buy the truth and sell it not. Take heed of the sin of earthly-mindedness which sometimes lies hid under a large profession. Be careful of your weak members, lest wolves in sheep's clothing, through pretended sanctity and seeming mortifications, get in among them. Labour to keep up in one another's hearts an honorable esteem of the holy word of God, in opposition to the present delusions of the times. Engage not yourselves in heartless and speculative disputes, but rather be much in practical edifying truths; knowing that the principles which necessarily conduce to salvation are but few. Be careful that upon pretence of church meetings you neglect not closet prayer, in which be careful to mourn under straits, and rejoice in enlargements. Labour after a just, blameless, and shining life, that the world, by your harmless and holy lives, may be instructed. Treasure up large assurance against an evil day to come. Take heed of hardness of heart and declining affections toward the Lord. Let your consciences witness your blameless conversation for time past, as well as your effectual calling and your holy purposes for God in future.

"Your affectionate brethren in the gospel of Christ,

"THOMAS PATIENT, CHRISTOPHER BLACKWOOD,
"EDWARD ROBERTS, RICHARD LAWERN,
"THOMAS SEWARD, HENRY JONES,
"P. CUDMORE, WM. HOPKINS."
"ARNOLD THOMAS,

Y mae y llythyr uchod wedi ei ysgrifenu mewn iaith mor rhydd ac ysbryd mor agored, fel y mae yn amlwg fod brawdgarwch cryf yn ffynu rhwng eglwysi Morganwg a'r eglwys yn Dublin; yr hyn hefyd a ddengys fod gohebiaeth aml yn cael ei dwyn yn mlaen rhyngddynt. Yn wir, y mae llythyrau yr eglwysi at eu gilydd yn dangos fod undeb cyffredinol a chariad cryf yn bodoli drwy yr holl gorff Bedyddiedig y dyddiau hyny; ac hawdd canfod bod pob

cynnnulleidfa newydd, a chynnydd yr achos yn cael ei wneyd yn hysbys trwy yr eglwysi drwy y deyrnas, yr hyn a ddengys deimlad bywiol ac anwylaidd; ac yn mhellach, yr oedd trefniadau tufewnol yr eglwysi yn hysbys o'r naill i'r llall, a'u cynghorion yn cael eu rhoddi yn gyfatebol; felly y mae y llythyr uchod a'i fath yn werthfawr, fel yn dangos sefyllfa yr achos o ran ei amgylchiadau, yn gystal a'i gyflwr ysbrydol. Rhybyddia y brodyr Gwyddelig yr eglwysi yn Morganwg, i ddarparu ar gyfer newid tymhor; yr oedd y pryd hyn yn heddychlon, ond yr oedd perygl i storom godi; yr hon a ddechreuodd hefyd yn mhen tua phedair blynedd ar ol hyn. Cynghorant hefyd i osod gweinidogaeth sefydlog, darllen llyfrau da dewisedig gan y gwybodus, ymarfer haelionusrwydd, ac yn enwedig i ofalu am fuchedd addas i efengyl Crist: y cwbl yn arwyddo llawer o feddwl a theimlad yn achos ymarferiad a llwyddiant gwir grefydd yn eu plith. Amlwg yw, oddiwrth y llythyr uchod, fod rhai cyfoethogion yn gystal a thlodion yn yr eglwysi hyn yr amser hwn, a bod perygl i'w cyflwr o lwyddiant a llonyddwch beri iddynt anghofio eu dyledswyddau. Ai nid gwir iddynt wneuthur hyny er pob cynghor a roddwyd? canys rhyw fodd neu gilydd, collwyd hanes y frawdoliaeth hon wedi yr amser hyn am dymhor lled faith. Nid oes hanes am yr eglwys yn Llantrisant ar ol hyn, eithr y mae wedi symud i

## GRAIG-YR-ALLT A'R BERTHLWYD.

Y mae y blaenaf yn mhlwyf Eglwysilian, a'r olaf yn mhlwyf Llanfabon, y ddau yn Morganwg. Pa bryd, neu paham, yr ymadawodd o dref Llantrisant, nid oes genym yr hanes leiaf, ac nid yw tybiaeth ond sylfaen wanaidd i adeiladu arni. Y dybiaeth yw, iddi aros yn Llantrisant hyd ddechreu yr erledigaeth yn 1660, neu ychydig yn mhellach. Gallasai fod y dref yn rhy gyhoeddus, ac felly yn rhy gyfleus i'w gelynion gael y fantais i'w haflonyddu a'u poenydio; neu fe allai iddynt gael eu gwasgaru a braich gref yr ynadon, y milwyr, &c.

Yma gweddus yw rhoddi drychfeddwl o dymhor yr erledigaeth. Nid tymhor dibwys yw hwn; ni ddylai plant Duw anghofio dyoddefiadau y saint yn y fath dymhor tanllyd; a blin yw genym nad oes lle i ni ym-

helaethu arno i'r graddau ag y byddai holl agweddau yr amser yn dyfod i'r golwg, fel y byddai yr egwyddorion fuont yn gweithredu yn dyfod i'r amlwg, a goruchwyliaeth Duw tuag at ei eglwys yn cael ei chydnabod. Fel y nodasom yn flaenorol, wedi i Siarls y I. gael ei ddirymu, cynnyddodd rhyddid crefyddol, yr hyn a barhaodd, o ran y llywodraeth, am tua deuddeg mlynedd mewn grym lled dda; eithr fel yr oedd yr egwyddorion sylfaenedig gan Cromwel yn gwanychu, ac annhrefn yn llusgo i mewn i'r llywodraeth, yr oedd y rhyddid hwn yn gwanychu, pethau yn myned yn dra anghysurus yn y wlad, yr hon oedd megis heb un pendod digonol erbyn hyn. Ofnwn hefyd fod y sectau yn taflu gwanychdod i mewn i'r cwbl; oblegid yn lle cyduno i bleidio eu gilydd, yr oedd eiddigedd yn llywodraethu i raddau pell, fel yr oedd y wladwriaeth yn glwyfus drwyddi oll, ac yn hiraethu am ryw sefyllfa fwy sefydlog ac ymddiriedol. Wrth deimlo hyn, darfu hyd y nod i rai o'r enwadau gydsynio i alw Siarls yr II. i'r orsedd, gan hyderu fod y wers a ddysgwyd ar draul pen ei dad yn digonol i ddysgu doethineb i'r mab. Eithr nid felly y bu, ond penderfynu a wnaeth ef i ddial y weithred hono mor bell ag y gallasai, os buasai awdurdod yn cael ei rhoddi yn ei law. Y 29ain o Fai, 1660, dychwelodd o'i ffoedigaeth i Loegr. "Yr oeddid wedi rhoi heibio drefn addoliad Eglwys Loegr ar ol 1648, gan mwyaf, ac nid oeddid yn arfer Llyfr Gweddi Cyffredin ond gan rai. Yr oedd y pregethwyr yn yr eglwysi, a'r bobl hefyd, yn addoli yn gyffelyb i'r modd y maent mewn tai addoliad yn awr. Pan ddychwelodd y brenin, cyfnewidiwyd y drefn hyn ar bethau, dychwelodd yr erledigaeth, trowyd y pregethwyr allan o'r eglwysi plwyfol, a dychwelwyd yr hen offeiriaid yn ol i'w lleoedd fel yr oeddent yn 1649; sef y rhai oedd yn fyw o honynt; a daeth erlid mawr ar bawb na chydffurfient ag Eglwys Loegr mewn addoliad." Nid yw hyn yn ymddangos i ni, yn yr oes hon, ond ad-daliad i raddau pell am ymddygiad y prawfwyr a'r *Commissioners* yn condemnio ac yn tynu yr offeiriaid o'r eglwysi, gan eu gadael, os heb eu herlid, i ddyoddef yn bwysig trwy ddiffyg y cysuron hyny yr oeddent wedi arfer eu mwynhau; ac nis gallwn feio cymmaint ar yr offeiriaid eu hunain, ag ar y trefniant yr hwn a'u gosododd yn eu swyddau; ac nid oeddent yn gyfaddas i ennill eu bywioliaeth mewn unrhyw ddull arall.

Mawr fu dyoddefaint llawer o'r offeiriaid hyny, ac amryw o honynt fuont feirw yn y trallod hwnw; tra ar yr un pryd y mae lle i ofni i weniaith a ragrith osod llawer pregethwr digydwybod yn eu lleoedd, nad oeddent well nâ hwythau; o'r hyn lleiaf, gorchwyl anghristnogol ynddo ei hun oedd cymmeryd lleoedd a thâl y llywodraeth mewn ffordd grefyddol. Nid oedd hyn yn safadwy ar dir crefydd na moesoldeb, a dygodd ei ffrwyth yn fustlaidd yn ol llaw. Desgrifiad Mr. Fafasor Powel o'r tymhor erledigaethus, a ysgrifenwyd ganddo ef, yn 1661, ac yr oedd yn llygad-dyst o'r hyn y mae yn ei adrodd. "Wedi hyn," ebe fe, (sef wedi i Siarls yr II. ddyfod i'r orsedd,) "bu gorthrymder tra blin, yn enwedig yn rhai siroedd yn Nghymru; lle y llysgwyd rhai dynion diniwed a heddychol allan o'u gwelyau, heb barchu na rhyw nac oedran, ond eu gyru, rhai o honynt ar eu traed, ugain o filldiroedd i garchar; a gosod gorfod arnynt yn ngwres yr haf, gydredeg â meirch y milwyr, nes pothellu eu traed, a hwythau yn lluddedig, ac yn barod i syrthio i'r llawr: etto eu curo a'u ffonodio yn y blaen yr oeddid. Ereill, yn sîr Feirionydd, megis pe buasant anifeiliaid, a yrwyd i'r ffaldiau neu bitffaldiau y plwyfau, lle y cedwid hwy amryw oriau, a'u gelynion yn y cyfamser yn yfed cwrw yn y dafarn, ac yn gorfodi i'r bobl ddiniwed dalu drostynt hwy, heb gael dim i'w yfed eu hunain. Wedi hyny dygwyd hwy i làn y môr, gan eu gadael yno drwy y nos mewn enbydrwydd o gael eu llyngcu gan y môr; a hyny gydag ychwanegu yn gableddus mai ci oedd gyda hwy oedd yr ysbryd a'u harweiniodd hwy y ffordd hóno. Ereill a roddwyd yn ngharchar, fel y gwelai yr erlidwyr yn dda, ac a gadwyd yno amryw fisoedd; a chyda hyny cymmerwyd a gwerthwyd eu da a'u defaid, dros chwe chant mewn rhifedi. Ereill, pan y cymmerid hwynt i'r *sessions* chwarterol, oeddent yn gorfod cerdded mewn cadwyni (*chains*) yn groes i'r gyfraith. Ereill, wedi cyfarfod yn ddiswn, fel yr oeddent wedi gwneyd amryw flyneddoedd i addoli Duw, ac adeiladu eu gilydd, a fwriwyd i garchar, heb gymmaint a'u holi na dangos achos paham, yn groes i gyfraith y wlad hon a gwledydd ereill." Y cyfryw oedd parodrwydd annuwiolion y wlad at ymosod ar grefyddwyr yr amser, fel "y Sabbath cyntaf wedi derbyn cyhoeddiad y brenin, darfu i swyddogion un dref lysgo a thynu ar eu hol i'r tafarn,

wragedd tlodion ag oeddent yn gwrando Gair Duw, a chadwasant hwy yno hyd wedi nos, ac hyd oni thalasant am eu cwrw hwynt." Dyma ddesgrifiad arall, gan un o'r Bedyddwyr etto, medd Mr. Thomas:

"Etto creulon ddig swyddogion, ddalient ddynion mawr eu bri,
I'w carcharu yn ddidosturi; mynych gwnu dwbl *fee*:
Fe ga'i fwrdrwr, lleidr, bradwr, fwy o ffafr yn eu gwydd,
Nâ ryw Gristion diddrwg, ffyddlon,—mor anghyfiawn oedd eu swydd!

"Rhai ni feiddient fyn'd i'r farchnad, er mawr alwad iddynt fyn'd,
Na ba'i Ceisbwl wrth eu sawdl i roi trwbl yn ddiffrynd;
Rhaid gwobrwyo'r gwyr a'u boddio cyn cael myn'd o'u dwylo'n rhydd;
Gwancus, chwanog, llym i'r geiniog;—gwylio'r 'sglyfaeth nos a dydd.

"Rhoi eu henwau i mewn ar lyfrau, yn eu cwrtiau'n llawer man,
Llys cabidwl,* gwaeth na'r cwbl, yn cyhoeddi'n llwyr i'r llan
Ysgymundod fawr ddisberod, lawer pryd heb wybod pa'm,
Eisiau' porthi a'u digoni byth ag arian,—dyna gam.

"Wedi yno ysgymuno, delai'n rhuo *writ* i maes,
I law'r Sirif arfog heinif, hwnw'n erlid, nid yn llaes,
Y gwirioniaid, yn dra diriaid. Os eu dala myn'd i'r *jail*,
I greulon ddyoddau am hir amserau, dim ni thalai gynnyg *bail*.

"Afresymol oedd y bobol gyffredinol, fel o'u pwyll
Yn cyhuddo pawb, heb geisio; hawdd gwel'd yno hud a thwyll.
Malais dirgel lechai'n ddyogel dan fradychus gesail rhai;
Rhai ddymunen' o genfigen bigo'n codeu heb ddim llai."

Y mae y fath ddesgrifiad o swyddogion gwladol Cymru, yn ymddangos yn debyg i ffugiaith yn ein dyddiau ni, ond gwir i'r lythyren ydyw; a bydded i'r darllenydd, er mor anghredadwy yw, i ymdrechu llunio iddo ei hun, rai o'n cenedl yn gyru dynion Crist'nogol, a menywod tirion ein gwlad, i'r carcharau fel anifeiliaid y maes! Rhyfedd, Gymru, ein bod ni wedi bod y fath baganiaid annynol! a hyny dim ond 200 o flyneddoedd yn ol!! Wele, er dued y darlun, fel hyn y poenydiwyd yn ddirfawr grefyddwyr cydwybodol y deyrnas am wyth mlynedd ar ugain, sef hyd 1688, drwy deyrnasiad Siarls II. a Iago II. nes daeth heddwch dan Wiliam a Mari.

Yn y dull yna y dyoddefodd llawer o aelodau hen eglwys Hengoed! Pa faint a ddyoddefasant, nid oes neb a all adrodd yn bresennol. Bu rhai o honynt fyw drwy yr holl

* *Consistory*, sef cynghordy a chynghoriaid yr Esgoblys.

erledigaeth, a blyneddoedd wedi hyny. Cawn son am rai personau yn ol llaw, a' ddyoddefasant eu hyspeilio yn llawen er mwyn enw Crist, eu Prynwr a'u Gwaredwr. Pa mor ddiolchgar y dylem ni fod am yr hir-ddydd hâf ag ydym ni yn ei fwynhau! A ydym yn gwneud y defnydd a ddylem o hono?

Fel y nodasom, dros holl dymhor yr erledigaeth yr ydym yn ddiffygiol o hanes yr eglwys. Nid rhyfedd hyn ar y cwbl, oblegid yr oedd y dysgyblion yn ofni cadw llinell yn y goleu, a hyny o herwydd os buasai y swyddogion yn cael gafael mewn unrhyw ysgrifen, gwnelent ddefnydd mawr o honi i gyhuddo yr addolwyr diniwed. Felly yr ydym yn gorfod rhoddi cam mawr yn mlaen cyn cael ychwaneg o hanes.

Yn y flwyddyn 1696, yn Llyfr Eglwys y Blaenau, y mae sôn am Thomas John, yn weinidog eglwys Craig-yr-Allt. Ein barn yw, fod y brawd hwn yn aelod gwreiddiol o'r eglwys, ac iddo barhau yn weinidog iddi hyd ei farw. Pwy fu yn bugeilio yr eglwys gydag ef, neu yn hytrach ar ei ol ef, yn ystod y tymhor trallodus hwn, buasai yn dda genym wybod yn benderfynol. Diamheuol genym i ffyddlondeb mawr gael ei ddangos gan rhyw fugeiliaid tuag at y brodyr trallodedig, oblegid braidd y mae genym esiampl o eglwys wedi ei chadw yn nghyd, ond lle yr oedd rhyw weinidog ffyddlon yn sefyll yn wyliadwrus ar y muriau. Credwn fod Mr. T. John yn un o'r cyfryw, ac i ardaloedd Craig-yr-Allt, Berthlwyd, a Chelligaer, gael profi cysuron ei wyliadwriaeth ffyddlon ef, yn neillduol yr ardal olaf, lle y tybir ei fod yn llafurio fwyaf. Gydag ef, hefyd, y gallwn nodi, yr amser flaenaf, Mr. Thomas Joseph, a Mr. Howel Thomas; ac yn y blyneddoedd olaf o'r erledigaeth, dylem nodi yn neillduol Mr. Lewis Thomas, o'r Mŵr, ac fe allai Mr. Robert Morgan. Gwelir hanes y personau hyn mewn rhan arall o'r llyfr hwn. Dan fugeiliaeth y brodyr hyn yn neillduol, cadwyd y praidd yn nghyd drwy ystod yr holl storom chwerw, a'r Pen Bugail eu hun, yn nigonolrwydd ei ras, yn rhoddi iddynt nerth yn ol y dydd a chymhorth yn ol yr achos. Yr oedd yma hefyd aelodau tra nodedig, y rhai a enwir etto.

Nid oes son am yr eglwys yn hanes argraffedig y Cyfarfod Cyffredinol yn Llundain, 1689. Yno tybir mai yr achos o hyn oedd eu bod heb weinidog; ac felly heb un

genad i fyned yno. Eithr y mae hanes am eu llythyr at y Gymmanfa Gyffredinol yno yn y flwyddyn ganlynol. Yn hwnw annerchant y cyfarfod fel y canlyn:—"Eglwys Iesu Grist yn cyfarfod yn Nghraig-yr-Allt, Morganwg, yn Nghymru, at y brodyr gweinidogaethol, yr henuriaid, a'r cenhadau, yn cyfarfod yn nghyd yn eu Cyfarfod Cyffredinol, yn ninas Llundain, ar y 9fed dydd o'r 4ydd mis, 1690, yn anfon annerch." Yna nodant eu cymmeradwyaeth uchel o'r cyfarfodydd blyneddol cyffredinol hyny; ond nodant eu bod hwy eu hunain heb weinidog, ac yn cael eu diwallu gan eu brodyr Mr. Lewis Thomas, a Mr. Robert Morgan, henuriaid eglwys Abertawe; a bod y ddau hyn yn dyfod yn eu tro unwaith y mis i bregethu a gweinyddu swper yr Arglwydd. A nodant yn mhellach, eu bod yn cael eu galluogi, "i rodio mewn trefn, cariad, ac undeb, ac i ymostwng i'r oruchwyliaeth bresennol. Ac nid ydym yn cael ein gadael" (medd y llythyr) "heb dystion o fendith Duw yn ein plith, gan gael y cyfryw wedi eu hychwanegu atom ag ydym yn gredu a gedwir." Y mae y llythyr hwn wedi ei arwyddo gan "Edward Watkins, Thomas Thomas, Thomas Edwards, Edmund Evans, Rowland Williams, Evan Evans, William John, Thomas Evans, Richard Rees, a Henry Walters." Tybiai Mr. Thomas y gallasai yr Efansiaid hyn fod yn berthynasau i'r gwr da, y Cadben Efans o'r Dyffrynffrwd. O'r hyn lleiaf, yr ydym yma yn cael y pleser o ddarllen unwau deg o frodyr a fuont yn dyoddef, a'u hysgwyddau dan yr arch yn yr eglwys er ys mwy nâ 170 o flyneddoedd yn ol. Yn yr hanes y flwyddyn hóno, gelwir yr eglwys "Craig-yr-Allt a Llanfabon, Morganwg."

Am nifer yr aelodau yn yr eglwys hyd y pryd hwn, yr ydym mewn gryn anwybodaeth. Yn flaenorol i'r erledigaeth, bu cynnydd cyflym; ac ymddengys, fel y nodasom o'r blaen, yn ystod y deg mlynedd blaenorol i'r erledigaeth, fe allai iddynt godi i fynu i gant neu ddau; eithr pan ddaeth dydd y prawf trwy dân, cafwyd gweled pwy oedd wedi sylfaenu ar y tywod, a phwy ar Graig yr Oesoedd. Chwythodd gwyntoedd yr erledigaeth yr ûs ymaith, a gadawyd y gwenith yn unig. Gyda hyn, llawer a ffoisant i'r America, yn ystod y tymhor hwn, o eglwysi Cymru. Eglwys Ilston, yr hon oedd wedi derbyn 263 o aelodau yn y deg mlynedd cyntaf o'i bodoliaeth, nid oedd ond o 70 i

80 yn y flwyddyn 1690. Olchon hefyd yn y flwyddyn hon, nid oedd ond 30 o aelodau, er ei fod yn debygol ei bod lawer yn lluosocach cyn yr erledigaeth. Mewn llythyr oddiwrth Mr. Robert Morgan at Mr. Benjamin Keach, Llundain, fel y tybir, dyddiedig y 30ain o'r 10fed mis, 1689, dywedir, "Na ddarfu i lawer o'r cyfoethogion gadw eu lleoedd yn dda yn amser yr erledigaeth; ac nas gellid eu hadferyd â phob moddion a allasai yr eglwys eu defnyddio. Rhai o honynt a gydffurfiasant, ac ereill yn pryderu. Darfu i'r pethau hyn leihau nifer yr aelodau yn yr eglwysi yn Nghymru yn amser hirfaith y trallodion hyn; ac nid tebyg i eglwys Hengoed ddianc yn ddiarcholl. Ond gyda diolchgarwch i Frenin Seion, yr hwn, a ni yn annheilwng, a gynnaliodd ein tadau, yr ydym yn cael y pleser o gofnodi y sylw canlynol o eiddo ein hanesydd manylgraff, Mr. Thomas: "Ar y cyfan, darfu i'r eglwys hon ddâl y tywydd drwy yr holl erledigaethau, yn ol pob tebygolrwydd, gystal ag un yn Nghymru. Yr oedd rhai o'r aelodau yn ddynion o gyfrifoldeb, ac yr oedd y cyfryw o wasanaeth mawr yn y dyddiau hyny, ac yn ymgeledd i lawer o'r radd dlotaf."

Trwy ddau bapyr ysgrifenedig at y Gymmanfa Gyffredinol, gan y Dr. Christopher Price, gweinidog Llantrisant, Mon. a'r Fenni, y rhai oedd yn meddiant Mr. Josh. Thomas, y mae nifer aelodau eglwys Hengoed yn cael ei osod o hanner cant i dri ugain. Ac hefyd, noda yr un papyrau nad oedd ganddynt weinidog ordeiniedig y pryd hwn, ond fod yn eu plith henuriaid llywodraethol a brodyr doniol; a bod Meistriaid L. Thomas a R. Morgan yn cynnorthwyo, fel y nodwyd yn ol y llythyr blaenorol; eu bod yn cael cyfarfodydd lluosog, a llawer yn cael eu chwanegu atynt yn ddiweddar, ond eu bod yn isel yn y byd oddieithr tri neu bedwar. Un o'r papurau a noda, fod yr eglwys hon yn flaenorol yn cyfarfod yn Llantrisant.

Yr oedd gan Mr. Thomas yn ei feddiant ddau lythyr wedi eu hysgrifenu gan y Mr. Robert Morgan hwn; y naill wedi ei ysgrifenu at Mr. Keach, fel y tybir, dyddiedig y 30ain o'r 10fed mis, 1681; a'r llall y 3ydd o'r 4ydd mis, 1690, cyfeiriedig at Mr. M. King, un o ymddiriedwyr y Drysorfa yn Llundain, a gohebydd â'r eglwysi yn y wlad. Yno y mae yn sylwi, ei fod ef a Mr. L. Thomas yn gwasanaethu Craig-yr-allt ar gylch, fel y nodwyd; ac weithiau Celligaer a Llanfabon; a bod eu gweinidog wedi marw er

ys tua pedair-ar-ddeg o flyneddoedd. Gall hyn sefyll fel prawf digonol fod Thomas John wedi marw tua 1675. Y mae yn nodi hefyd fod ganddo ef tua 30 milldir i Graig-yr-allt, yr hyn a wnelai tuag 50 milldir o'n mesuriad presennol. Noda mai saith oedd eglwysi y Bedyddwyr yn Mynwy a deheubarth Cymru y pryd hwnw; sef, Abertawe neu Ilston, Olchon, Craig-yr-Allt, sef Hengoed, Llanwenarth, Blaenau, (ond heb ei chorffoli y pryd hwn,) Rhydwilym, a Llangwm. Yn y llythyrau hefyd, y mae efe yn dymuno am i rai o weinidogion Llundain i ymweled â'r eglwysi hyn; ac y mae yn eu cyfarwyddo yn flaenaf i'r Fenni, ac oddiyno i dŷ Thomas Thomas, yn mhlwyf Eglwysilan, ac oddiyno i Abertawe. Ymddengys oddiwrth hyn fod Mr. T. yn ddyn yn meddu helaethrwydd lle, lletygarwch, a meddiant helaeth.

Dyna y cwbl o hanes a feddwn am yr eglwys o gylch 1690. Gellid meddwl fod ei chylch yn awr yn dra chyffelyb i'r hyn oedd cyn yr erledigaeth. Nid yw hefyd wedi bod heb weinidogaeth drwy yr holl amser erledigaethus, yr hyn sydd rhyfedd; ac yn wir, ar ddiwedd y fordaith ystormus, y mae ei bod a chynnifer a thri ugain o'r dwylaw yn ddiogel yn dyfod i mewn i hafan heddwch, yn profi grym ysbrydol a ddengys fod ei Llywydd nefol wedi bod wrth y llyw heb hepian na chysgu. Nid yw enwau y "brodyr doniol" y cyfeiriwyd atynt ar gael, eithr amlwg fod yma rai cymmeradwy, canys nid oedd L. Thomas neu R. Morgan yn dyfod ond unwaith bob mis atynt.

Nid oes dim o hanes yr eglwys ar ol hyn i'w chael mewn cyssylltiad a Chymmanfa Gyffredinol Llundain. Rhanodd y gymmanfa hòno yn ddwy er mwyn cyfleusdra, a phenderfynwyd i eglwysi Cymru i ymgyssylltu a Chaerodor a gorllewindir Lloegr. Felly yn Llyfr Cofnodion eglwys y Blaenau y mae rhestr o'r eglwysi a gyfarfyddasant yn y gymmanfa yn Nghaerodor, yn y flwyddyn 1694, ac yno nodir yr eglwys hon dan yr enw Llanfabon.

Yn y llyfr hwnw hefyd y mae hanes fod dadl wedi cymmeryd lle rhwng eglwys y Blaenau a Llanfabon, yn y flwyddyn 1696. Yr achos oedd hyn :—Yr oedd yn Llanfabon wraig wedi ei bedyddio oddiwrth y Presbiteriaid neu yr Anymddibynwyr, ac yr oedd yn dewis bod mewn cymmundeb gyda y taenellwyr a'r Bedyddwyr. Caniatawyd i hyny fod. Yr oedd Mr. Lewis Thomas yn gweini yr ordin-

hadau yn yr amser hyny yn y Blaenau a'r Berthlwyd. Pan glywodd eglwys y Blaenau am y wraig hon, a'i bod yn cyfranogi felly er ys blyneddoedd, er nas gwyddent hwy, barnasant fod hyn yn annrhefnus. Gosodasant y peth o flaen Mr. L. Thomas, gan ddweyd, fod rhaid bod diwygiad yn Llanfabon, neu ynte nas gall fod yn rhydd tuag ato ef. Gosododd yntef y peth o flaen eglwys Llanfabon; ond ni allasant iawn gytuno ar y peth. Yr oedd hen frawd o'r enw Simon Lewis yn eglwys y Blaenau, yn dweyd fod gweinidog blaenorol Craig-yr-allt, sef Mr. T. John wedi caniatâu iddo ef gymuno felly gyda dwy eglwys: ond y mae y llyfr yn nodi nad oedd neb arall yn cofio hyny. Os gwir, dengys fod T. John yn ddyn tyner galon, ac fe allai yn foddlon aberthu er mwyn heddwch. Tebygol hefyd fod Simon Lewis yn aelod yn y Berthlwyd, ond ymgorffolodd gyda y Blaenau y flwyddyn hon. Wedi i'r eglwys fethu cytuno yn achos y wraig, ac iddi hi gael parhau ei chymundeb fel o'r blaen, ni ddaeth Mr. L. Thomas atynt ond ychydig neu ddim wedi hyn, yr hyn a ddengys nad oedd yn llwyr gytuno â'r arferiad. Yn y flwyddyn ganlynol, anfonwyd gofyniad i Gymmanfa Caerodor, (*Bristol*), o berthynas i'r wraig hon a'i sefyllfa, lle y cytunwyd, i ddymuno ar yr eglwys i fyfyrio ac ymdrechu i ddilyn y pethau a berthynant i heddwch, yr hyn a orchymmynir mor fynych yn y Gair: ac, er mwyn heddwch, fod i'r wraig ymadael â'r Presbiteriaid, o ba rai yr oedd yn wreiddiol yn aelod, ac ymroddi yn gwbl i'r eglwys dan fedydd, o herwydd nad oes un rheol dros y fath gymundeb cymysg, &c. Ond tebygol yw, iddi gael aros fel o'r blaen. "Fe allai," medd Mr. Thomas, "fod yno rhyw amgylchiadau yn gwneyd y peth yn gyfyng;" ond tebygach, feddyliem ni, yw, fod hon yn un o hen chwaeriorydd gewinol y tymhor, ag oedd a'i dylanwad yn bwysig, nid yn unig yn yr eglwys, ond ar y brodyr yn y weinidogaeth hefyd; a'i bod felly drwy y doniau gwrrywaidd perthynol i'r fath ddosparth menywol, yn drech nâ'r eglwys â'r gymmanfa hefyd. Yr oeddent yn fath o dywysogesau ysbrydol yn teyrnasu yn eu cylch, drwy ddylanwad afrywiol. Diolch fod y fath rywogaeth bron diflannu. Tybiwn mai rhyfedd oedd mawrhydri hon yn ei golwg ei hun, pan yn medru tynu sylw Cymmanfa Brysta! Parhaodd i gymmuno yn y ddau le, o'r hyn lleiaf hyd 1700, canys tua yr amser hwnw symudodd Abraham

Gabriel i'r Blaenau o achos yr annrhefn hyn, ac ymadawodd Mr. L. Thomas.

Wedi i Mr. L. Thomas, un o ragorolion y ddaear, roddi ei weinidogaeth yma i fynu, yr hyn a fu, feddyliem, o herwydd oedran yn gymmaint ag o achos yr annymunoldeb, gorfu ar yr eglwys edrych allan am rhyw un i ofalu am y Sabbath cymmundeb; ac yn mherson Mr. John Jenkins, Rhydwilym, cawsant wasanaeth un o brif weinidogion y tymhor. Yr oedd ef yn awr yn ei flodau; ac ymddengys i ni fod dylanwad yr eglwys yn un pwysig, a'i gallu yn lled gryf, i fedru tynu sylw a chael gwasanaeth gwr mor boblogaidd a da. Amlwg iawn yw, fod yr eglwys o dan ei weinidogaeth ef wedi bod yn llwyddiannus, canys ymgyfnerthodd i'r fath raddau, fel y penderfynodd gymmeryd gweinidog iddi ei hun unwaith eto; a diamheuol fod Mr. Jenkins wedi gweithredu tuag at gael hyny oddiamgylch; ac efe fu yn foddion i gymmeradwyo eu gweinidog nesaf i sylw y brodyr, yr hyn ynddo ei hun oedd wasanaeth anmhrisiadwy. Ac yr ydym hefyd yn tynu y casgliad hwn, yn rhesymol feddyliem, sef gan fod gan y brawd Jenkins olwg fawr ar Morgan Griffiths fel gwr doniol a duwiol, na fuasai yn ei annog ef i'r Berthlwyd, oni buasai fod yr eglwys yno yn deilwng o'r fath ragorfraint; hyny yw, yr oedd ynddi flaenoriaid ac aelodau yn byw yn drefnus, sefydlog, a duwiol, a'r eglwys yn sefyll ar uchelfan yn ngolwg yr eglwysi yn gyffredinol. Bu yr eglwys yn mwynhau gwasanaeth ffyddlon Mr. John Jenkins o leiaf dair blynedd. Y mae yr eglwys felly, feddyliem, yn gorphen yr hanner cannrhif cyntaf o'i bodoliaeth mewn cyflwr tra chysurus ar y cwbl.

Tebygol fod Mr. Morgan Griffiths ar brawf yn eu plith yn y flwyddyn 1700, (yr hyn oedd arferiad canmoladwy, ac a arferwyd yn hir wedi hyn,) ond ni symudodd atynt cyn y flwyddyn ddyfodol, ac ni chafodd ei lythyr gollyngdod o *Rushacre*, sef Rhydwilym, hyd 1703. Y mae yn llyfr eglwys Rhydwilym adysgrif o lythyr gollyngdod Mr. Griffiths. Y mae wedi ei amseru yn Nghwmcerwyn, y 18fed o'r 12fed mis, sef y 18fed o Chwefror, 1703. Yr ydym wedi nodi o'r blaen fod y Bedyddwyr yn dechreu eu blwyddyn yn mis Mawrth yr amser hwnw. Yn y llythyr neu y copi hwnw, dywedir, fod "yr eglwys wedi cael hir brofiad o ymarweddiad hardd, gras, a doniau y brawd

Morgan Griffiths; a'i fod wedi ei ordeinio, a'i anfon drwy ympryd a gweddi, ac arddodiad dwylaw henuriaid yr eglwys," &c. Yr oedd y pryd hwn tua deg ar ugain oed. Gwelir hanes y brawd ffyddlon yn mhlith cofnodion gweinidogion yr eglwys. Yma nid oes angen ond nodi cyflwr yr eglwys yn nhymhor ei weinidogaeth; yr hyn ydym yn brysio i'w wneyd gyda llawenydd, oblegid tymhor ardderchog lwyddiannus yw.

Dywedir i Morgan Griffiths ddyfod at eglwys Craig-yr-allt. Y mae yn debygol fod yr eglwys yn cyfarfod yno yr amser hwn o bryd i gilydd. Gwr o'r enw William John oedd yn byw yno, fel y nodasom yn flaenorol, ac am yr hwn gwelir eto hefyd. Digon tebyg ei fod ef yn fyw yn 1690, ac fe allai hyd y nod pan ddaeth Mr. Griffiths yno; ond o'r diwedd cymmerodd cyfnewidiad le, digon tebyg ar farwolaeth y brawd gwir ffyddlon hwn, a symudwyd y cyfarfodydd i dŷ o'r enw Waungledr; ac yn fuan wedi hyny i dŷ Rees George; ac oddiyno i Waen-y-gwaelod, ac i'r Tŷ Llwyd, ac yn olaf i dŷ Siencyn Llewelyn. Y tai hyn oll oeddent yn mhlwyf Eglwysilan, ac nid yn mhell oddiwrth eu gilydd. Amlwg yw, mai er mwyn cyfleusdra yr oedd y cyfnewidiadau hyn yn cael eu gwneyd, ond dangosant yn wir fod preswylfeydd i arch yr Arglwydd yn lluosog yn yr ardal yma yr amser hyn. Gyda y rhai hyn, gallwn nodi yn ddiddadl yr Ysgwyddgwyn yn Nghelligaer, a'r Berthlwyd yn Llanfabon, fel lleoedd y cynhelid cyfarfodydd a chymundeb ynddynt, fel y rhai uchod. Cynhelid y cymundeb ar gylch ynddynt, feddyliem. Ond tua dechreu y ddeunawfed ganrhif, sefydlodd yr eglwys yn lled gryno yn y Berthlwyd yn unig, ac ar enw Llanfabon yr oedd yn myned nes adeiliadu ei thŷ cyfarfod.

Fel y nodasom o'r blaen fod yr eglwys yn y flwyddyn 1690, o hanner cant i driugain o aelodau, nid yw yn debygol iddi leihau; er y gallasai hyny gymmeryd lle i raddau ar ymadawiad Mr. L. Thomas; eto, dan weinidogaeth Mr. John Jenkins, y mae yn dra sicr i gryn, gynnydd gymmeryd lle; ac ar ddyfodiad Mr. Griffiths yma, tybied yr ydym i lwyddiant helaeth ganlyn. Tua y pryd hwn y tybir i Dafydd, mab Rees Dafydd, gael ei fedyddio, yr hwn wrtho ei hun oedd ychwanegiad pwysig, fel y dengys hanes ei fywyd yn Nghofnodion Pregethwyr yr eglwys. Yr oedd ei dad a'i fam yn aelodau o'r eglwys, ac yn bobl

gweinidogaeth i bob un. Nid oes hanes benderfynol am hyn, eithr gallwn benderfynu mai dyna yr amser y bu luosocaf yn y ddwyfed ganrhif ar bumtheg. Yn mhen tua deg mlynedd wedi agoriad yr addoldy, yr oedd yr eglwys yn lluosog iawn. Os nad oedd y fam eglwys yn cadw llyfr coffadwriaeth, ac yn edrych yn graffus iddo, gallasai fod drychfeddwl camsyniol iawn am eu nifer, oblegid eu bod mor wasgaredig, ac nad oeddent yn gallu dyfod ond anaml yn nghyd i Hengoed, nac un amser i gyd yn nghyd ar yr un pryd. Yr oedd yn yr eglwys tua 1721-4, o leiaf dri o bregethwyr heblaw y gweinidog, sef Meistriaid William Dafis, Thomas Williams, a Roger Dafid; a thua yr amser hwn y dechreuodd Mr. Efan Edward bregethu. Tybiwn mai at y tymhor hwn y cyfeiriai Mr. Jenkyn Llewelyn, pan ddywedai ei fod yn cofio yr eglwys yn ddau cant a thri ugain o aelodau, ac os felly dyma yr amser y bu yr eglwys luosocaf yn y ddeunawfed ganrhif.

Y mae yn Hengoed yn aros hyd heddyw, arferiad o ymgynnull i gyfarfodydd cymmundeb misoedd Mai, Mehefin, a Gorphenhaf, yn fwy lluosog nag unrhyw Sabbathau ereill yn y flwyddyn. Tarddodd yr arferiad hwn, y mae yn ddiddadl, o'r amser cyntaf wedi adeiladu Hengoed. Yn y misoedd hyn yn unig yr oedd yr aelodau o bob parth yn alluog i ymgasglu at eu gilydd; achosai hyn dueddiad i fyned, nid yn unig yn yr aelodau, eithr yn eu perthynasau a'u cydnabod hefyd, nes yr aeth y Sabbathau cymmundeb hyn dan yr enw "Pen-mis-mawr;" cyntaf, canol, ac olaf: ac y maent yn cael eu neillduoli wrth yr enw hwn hyd y dydd heddyw, ac yn fwy lluosog eu cynnulliad i ryw raddau hyd y dydd hwn nâ chynnulliadau ereill y flwyddyn. Yn yr amseroedd ag ydynt dros gof, nis gwyddom pa mor lluosog oedd y cynnulliadau hyn, eithr yn nechreu y ganrhif bresennol, yr oedd y cynnulliad yn fawr ac annuwiol iawn gan y werin yn gyffredin; llawer mwy tebyg oedd i gynnulliad i ffair nac i addoliad. Gwelid cannoedd o ferched a meibion, yn gystal a phob oedran, yn eu gwisgoedd newyddion, ac ar eu ceffylau goreu, yn cyrchu o ddegau o filldiroedd tua Chefn Hengoed. Deuent, fe allai, i'r fonwent, ond nid oedd ond nifer fechan o honynt yn medru cael lle yn yr addoldy. Ar yr heolydd o amgylch yr oedd byrddau llawn o deisenau, &c., ac hyd y nod ddiodydd meddwol yn cael eu gwerthu. Y tafarndai cylchynol a

fyddent yn llawn o bobl brydnawn y dydd, a llawer a arosent drwy y nos a thranoeth. Clywsom am redegfeydd ceffylau ac ymladdfeydd wedi eu pennodi erbyn yr amser. Yr oedd hyn yn bodoli tua diwedd y ganrhif ddiweddaf a dechreu hon. Nid oedd gan yr eglwys y llaw leiaf, fel y mae yn hawdd credu, yn yr annrhefn; eithr eu cynnulliâd poblogaidd hwy o wahanol barthau y wlad a roddodd achlysur iddo; a thyfodd o'r diwedd i'r fath rym, fel nas gallasai gweinidogion yr eglwys ddylanwadu yn ddigonol i'w osod i lawr, hyd nes i'r diweddar Dr. John Jenkins, yn fuan wedi ei sefydliad yma, gymmeryd at y gorchwyl mewn modd penderfynol, er dyoddef gwg y tafarnwyr a gwawdiaith torwyr Sabbathau. Dyna hanesyn byr am y "Pen-mis-mawr."

Yr oedd hen eglwys Llantrisant, Monwy, wedi bod mewn gwanychdod er ys amryw flyneddoedd, ac yn fwyaf dan ofal Hengoed, er marwolaeth yr hen weinidog ffyddlon ac enwog Mr. Quarrel yn 1709. Yn 1720, yr oedd yn cael ei ystyried yn gangen o Hengoed. Bu gryn ddiwygiad yno tua'r amser hwn, a thua 1723 ail gorffolwyd yr eglwys yno, a sefydlwyd y brawd William Davies yn weinidog iddi. Gwelir chwaneg am y ganghen a'i gweinidog yn y blaen; ond dyledus yma yw nodi fod eglwys Hengoed wedi bod yn wir ymgeleddgar iddi, a'i gweinidog gwerthfawr wedi teithio llawer i'r pellder hwnw i bregethu y Gair ac adeiladu y dysgyblion.

Tybir y gallasai y corffoliad uthod ysgafnhau ychydig ar lafur y gweinidog, ond nid felly yr oedd; canys yr oedd ei ymdrechion yn cael eu cyfeirio i'w eithafion i ardaloedd ereill; ac yr ydym yn cael yn mhen tua thair blynedd yn y blaen, eglwys Penyfai yn cael ei chorffoli fel ffrwyth bendith yr Ysbryd dwyfol ar lafur diflino y brawd Griffiths a'i gydlafurwyr. Corffolwyd y ganghen hon yn y flwyddyn 1726.

Yn y flwyddyn a nodwyd a'r un ganlynol, bu diwygiad tra grymus a chyffredinol drwy yr eglwysi, yn yr hwn y cyfranogodd yr eglwys hon, er nas gwyddom pa nifer a chwanegwyd ati. Tua y tymhor hyn y dechreuodd Mr. Charles Winter bregethu. Bu dadl fawr hefyd ar fedydd yn yr amser hwn, yr hyn a gynhyrfwyd gan daenellwyr babanod, o herwydd y llwyddiant arbenig oedd ar y Bedyddwyr. Gwelir ychydig chwaneg am hyn yn y cofnodiad

am Mr. Morgan Griffith. O'r llwyddiant a nodwyd, y tarddodd y meddwl a'r penderfyniad i gorffoli yr eglwys yn Mhenyfai, gorllaw Pen-y-bont-ar-Ogwr.

Yn mhen y tair blynedd ar ol hyn, sef yn 1729, yr ydym yn cael yr hen fam drachefn yn gollwng nifer gref o'i phlant i gorffoli yr eglwys yn Mhenygarn, ger Pontypwl.

Rhyfedd, rhyfedd y llwyddiant yn y blyneddoedd hyn! braidd nad ydym yn cael ein darbwyllo mai pa fwyaf yr oedd y canghenau yn cael eu symud ymaith, mwyaf hefyd yr oedd yr hen gyff yn brigo allan! onid dyma drefn Duw yn mhob oes, pa fwyaf y byddo yr eglwys am ymdori allan, mwyaf yr estynir cortynau ei phreswylfeydd?

Ond er y llwyddiant rhagorol, ymddangosodd yn fuan ar ol hyn wreiddyn chwerwder yn yr eglwys. Daeth Arminiaeth i mewn drwy Mr. Charles Winter, a bu yma flinder mawr i'r gweinidog a'r eglwys. Gwelir chwaneg am hyn dan y pen "Athrawiaeth yr eglwys" yn y blaen. Ni wnawn ond nodi yn mhellach yma, i'r eglwys ar y pryd hwn, trwy gynghor ei plentyn, Mr. D. Rees, yr hwn oedd yn weinidog enwog yn Llundain erbyn hyn, a chynghor y Gymmanfa yma yn y flwyddyn 1730, benderfynu cydfyw yn heddychlon wedi i ddau neu dri o brif flaenoriaid yr athrawiaeth newydd ymadael, yr hyn a barhaodd hyd farwolaeth Mr. M. Griffiths. Rhaid fod, gan hyny, ynddo ef bwyll mawr yn ei drafodaeth â'r frawdoliaeth, a bod yr aelodau yn cydoddef eu gilydd mewn brawdgarwch.

Nodasom yn flaenorol, i Mr. Wm. Davies ddychwelyd o'r America tua y flwyddyn 1723; o'r pryd hwn yn mlaen, nis gallwn nodi yr amser o fewn rhai blyneddoedd, aeth nifer luosog o'r aelodau a'u cyfeillion dros y Mor Werydd i'r wlad hòno. Yn mhlith y rhai hyn, yr oedd Mr. Rowland Howell, gwr defnyddiol iawn, am yr hwn y gwelir eto. Lleihawyd yr eglwys gan y mudiad hwn, ond bu amryw o'r cyfryw bersonau yn wasanaethgar iawn i sefydlu a chynnorthwyo achosion newyddion yn y wlad ieuangc hòno.

Yn awr yr ydym yn dyfod i derfyniad un o'r tymhorau mwyaf llwyddiannus yn ystod holl fywyd yr eglwys hon. Bu farw Morgan Gryffydd yn mis Mehefin, 1738, wedi gweinidogaethu tua 37 o flyneddoedd yn wir lwyddiannus, a'r eglwys wedi bod yn ei llawn flodau braidd drwy yr holl amser,—yn gryf ei dylanwad, yn lluosog ei haelodau, nerthol ei grasusau, a bywiog iawn ei gweithrediadau.

Wedi marwolaeth y gweinidog, wrth ystyried fod yn yr eglwys amrywiaeth syniadau yn aros megis tân marw yn y lludw, hawdd canfod yr anhawsdra i ddewis canlyniedydd iddo. Gwyddid fod pleidwyr Arminiaeth yn lled luosog yn yr eglwys er ys wyth i ddeg mlynedd yn ol, ac yr oedd y blaid hon am ddewis Mr. C. Winter i'r weinidogaeth, ond yr oedd y Calfiniaid yn rhy bwysig. Hefyd anhawdd oedd cael Calfiniad o weinidog digon cymmedrol yn ei ysbryd a'i olygiadau, i fedru cydymddwyn â'r Arminiaid, ac yn enwedig gan fod ganddynt bleidiwr mor alluog, a dyn mor dda a C. Winter i'w blaenori. Ond gan nas gallasent gyduno ar Mr. Winter, nac un o'r tri phregethwyr ereill oedd yn yr eglwys, trowyd eu meddwl at Mr. Griffith Jones, gweinidog Penyfai. Er fod Penyfai yn ferch i Hengoed, eto amlwg yw, mai annheg iawn oedd i'r olaf fwriadu yspeilio y flaenaf o'i gweinidog parchus a llwyddiannus; ac amlwg mai ei olygu ef y person mwyaf cyfaddas i ateb amgylchiadau peryglus a neillduol yr eglwys o ran barn, a fu yr achos o'r fath ddewisiad. Ymgynghorasant â brodyr ereill, y rhai a gydwelent â hwynt yn hyn; felly rhoddasant alwad unfrydol i Mr. Jones, ac efe a symudodd oddiwrth ei frodyr hoff yn Mhenyfai, tua diwedd 1739. Yn ganlynol, aeth yr eglwys yn mlaen yn dra chysurus. Yr oedd Charles Winter ac yntef yn caru heddwch, ac er yn gwahaniaethu, eto yn cydymddwyn yn rhagorol. Bu llwyddiant cysurus yn yr eglwys; dywedir fod rhai yn cael eu bedyddio bob mis am rhyw amser.

Yr oedd y canghenau hefyd yn cael sylw gofalus Mr. Jones. Cafodd cwrdd cymundeb ei sefydlu yn gyson yn y Casbach unwaith bob tri mis. Yr oedd yma erbyn hyn amryw aelodau, a'r lle yn cael ei ystyried yn gangen o Hengoed. Aeth ar ei chynnydd, nes yn y flwyddyn 1747, dan ofal meithringar Mr. Jones, i'r ganghen benderfynu adeiladu addoldy, yr hwn yn bresenol yw Bethesda, Maesaleg; a chorffolwyd yr eglwys yno.

Ond nid hir wedi hyn cafodd yr eglwys y gofid o ddeall fod ei gweinidog ffyddlon, ag oedd wedi bod mor wasanaethgar iddi, a chysurus ynddi, yn tueddu i gymmeryd ei daith i wlad bell yr Unol Dalaethau. Bu hyn yn flinder mawr i Hengoed, nid yn unig oblegid ei golli ef, ond hefyd o herwydd fod ysbryd yr hen ddadl athrawiaethol yn

ymrithio o flaen eu meddyliau. Eithr yr oedd rhyw ystyriaethau teuluaidd yn gorchfygu gyda Griffith Jones, ac i'r America yr aeth ef yn y flwyddyn 1749. Bu yr eglwys yn llwyddiannus a thra chysurus yn holl ystod amser gweinidogaeth y brawd Griffith Jones, sef deg mlynedd; ac efe a'i gadawodd mewn cyflwr da, fel y credwn, o ran rhif, ond eto nid yn unol mewn golygiadau. Nid ydym i anghofio nodi yma mai efe a fedyddiodd, yn fuan wedi iddo ddyfod i Hengoed, Mr. Thomas Llewelyn, wedi hyny y D.L., un o'r dynion mwyaf ei ddysg a'i ddefnyddioldeb yn ei ddydd yn y deyrnas hon, fel y gwelir yn y blaen.

Yr oedd gan yr eglwys achos diolch yn awr am gann mlynedd o heddwch yn ei phlith ei hun, a gallasai, debygid gadw ail jubili lawen y pryd hwn; ond nid felly y bu: daeth yr arth Arminaidd i mewn yn awr yn llawn penderfyniad i larpio neu rwygo diadell Duw. Yr oedd Mr. Winter yn awr tua 50 oed, wedi anwylo ei olygiadau crefyddol am fwy nâ 25 o flyneddoedd, ac yn tybied ei bod yn llawn bryd i wneyd ymdrech benderfynol i sefydlu Arminiaeth bur yn yr eglwys. Pa faint fu y blinder yn ystod y flwyddyn wedi ymadawiad Mr. G. Jones, anhawdd dirnad; rhaid ei fod yn chwerw iawn. Hawdd genym gredu mai gyda theimladau dolurus yr oedd pob Sabbath yn myned heibio, a phob cymundeb yn drwm-lwythog. Cynllunio trefniadau heddychlon gan garwyr tangnefedd, i ddim ond i'w sathru dan draed yr ymosodwyr; dim ond swn rhyfel athrawiaethol drwy derfyngylch yr eglwys, yn yr hyn yr oedd pob teulu yn cyfranogi, gan roddi ffrewyll yn nwylaw y gwawdlyd, a chledd drwy galon yr hwn oedd am weled y deyrnas nefol yn llwyddo. Ond er cynghor a chariad gweinidogion a brodyr, nid oedd dim bwrw arfau nes i Charles Winter a thri ar ugain o'r aelodau gael eu diaelodi yn ol cynghor y Gymmanfa yn 1750. Archoll drom fu hon i'r hen fam feithringar; ond amlwg yw mai priodol y gwnaeth i sefyll yn wrol o blaid athrawiaeth rhad ras.

Tua yr amser hyn, neu fe allai ychydig cyn y terfysg, derbyniwyd dau ddyn ieuaingc, sef Lewis James, a Watkin Evan; yr olaf yn fab i Mr. Evan Edwards. Fe allai mai ar ol ymadawiad Mr. C. Winter, y dechreuasant bregethu. Yn 1753, gwnaeth yr eglwys eu hordeinio i'r weinidogaeth. Yr oedd yma hefyd, bregethwyr gwir ddef-

nyddiol ereill, fel y gwelir mewn lle arall, yn y blynedd-oedd blaenorol ac yn bresennol.

Braidd drwy ystod holl weinidogaeth y brodyr hyn, neu yn hytrach drwy dymhor "Lewis Siams," fel y gelwid yr hen frawd hwn, nid oes unrhyw amgylchiad neillduol i'w nodi hyd y flwyddyn 1780. Tua yr amser hwn, yr oedd yr eglwys braidd oll yn cyfarfod yn Hengoed, lle yr oedd pregethu bob Sabbath, a gweinyddiad o'r swper santaidd bob mis yn gyffredin. Yr oeddent wedi bod er ys llawer o flyneddoedd yn pregethu mewn tŷ o'r enw Blaen Rhymni, yr hwn sydd yn ymyl y gweithiau haiarn a elwir wrth yr enw Rhymni yn bresennol; yr hwn sydd o gylch deg milldir o Hengoed. Yr amser diweddaf a enwyd, yr oedd-ent yn pregethu yno unwaith neu chwaneg yn y mis, ac yn tori bara bedair gwaith yn y flwyddyn. Yn y flwydd-yn ddiweddaf a nodasom, cododd rhyw anghydfod yn yr eglwys, a pharhaodd amryw fisoedd i ofidio yn fawr amryw o'r brodyr. Darfu iddynt gynnal dyddiau i weddio yn yr achos; a galwyd gweinidogion cymmydogaethol i ym-drechu adsefydlu heddwch a phurdeb. Nid yw ein hanes-ydd wedi gweled yn addas i gofnodi yr achos o'r anghyd-fod hwn, yr hyn a ddengys fod teimladau dolurus yn aros ar ei ol hyd y nod yn mhen deg mlynedd wedi hyny, ac yn arwyddo i ni mai achos o ddysgyblaeth ac nid athrawiaeth oedd. Hyn a achlysurodd i bedwar-ar-ddeg o'r aelodau gael rhyddid i ymadael, ac i ymgorffoli yn y Twyngwyn, Monwy, yn y flwyddyn 1781, neu 1782.

Tua yr amser hyn y galwodd yr eglwys ar y brawd ieu-angc. Morgan Shon Rees, i ddefnyddio ei dalent. Gwelir llawer am y brawd enwog hwn yn ol llaw.

O gylch y pryd hwn hefyd, gosodwyd Mr. Watkin Edwards yn gyflawn gydfugail â Mr. L. James, sef ar ei ddychweliad yn ol i'w le yn yr eglwys, wedi iddo fod gyda y brodyr yn y Twyngwyn am ychydig amser. Bu ef farw yn y flwyddyn 1794, ond bu Mr. Lewis James fyw lawer o flyneddoedd wedi hyn.

Cafodd yr eglwys ei chadw yn nghyd, oddieithr yn amser ymadawiad y Twyngwyn, yn ystod tymhor gweinidogaeth y ddau frawd hyn, ond nid grymus na bywiol iawn fu ei chyflwr. Collodd yr eglwys rai o'i phregethwyr def-nyddiol drwy symudiad, megis Mr. D. Lewis, i Ferthyr Tydful. Gweinidogaeth faith oedd eiddo y gweinidogion

hyn, sef dros 50 mlynedd. Yr oeddent hwy yn eu blynyddoedd olaf yn analluog i lafurio yn helaeth, a'r eglwys yn farwaidd. Rhoddwyd pregethu yn nghanghen Blaen Rhymni i fynu; esgeuluswyd Merthyr yn fawr hefyd, syrthiodd yr aelodau ymaith mewn lluosogrwydd, fel nad oeddent yn y flwyddyn 1794, ond yn nghylch 70 o aelodau, tra yr oeddent yn y flwyddyn 1777 yn 175. Nid oedd y Twyngwyn wedi ymganghenu mewn modd dymunol. Gwir i Gapel Sion ymgorffoli, eithr dan fath o angenrheidrwydd y bu hyn. Cyflwr isel y mae hyn yn ei ddangos ar sefyllfa yr eglwys am hanner cant o flyneddoedd! Nid gorchwyl annifyr nac anfuddiol fyddai chwilio ychydig i'r achos o'r cyflwr hyn ar bethau, ond o herwydd diffyg lle, rhaid i ni adael hyn i'r darllenydd ymofyngar.

Gyda y dyddiad hwn yr ydym yn gorfod, gydag hiraeth calon, roddi ffarwel i'n harweinydd hanesyddol didwyll, manylgraff, gwirioneddol, diduedd, a difyrgar, sef Mr. Joshua Thomas, tywysog hanesyddol y Bedyddwyr a Chymru. Bydd argraff ei law-ysgrifen ar ein meddwl tra fyddom byw. Y geiriau diweddaf am yr eglwys hon yn ei Ysgrif-lyfr ynt, "Nid hir wedi ysgrifenu yr uchod, sef yn niwedd 1794, cafodd Mr. James Perrot ei wahodd i gynnorthwyo yn Hengoed." Ond os ydym felly yn colli ei gynnorthwy ef, y mae yn foddlondeb neillduol i ni a'r cenedlaethau a ddêl, ei fod wedi dwyn yr hanes i lawr hyd o fewn cof gan rai ydynt yn fyw yn bresennol, ac yn cofio yn eithaf da amgylchiadau canlyniadol yr eglwys; a bydd yr hyn a ganlyn yma, sylwer, yn sylfaenedig ar dystiolaeth safadwy bersonol i'r hyn y mae yn ei lefaru.

Fel y noda Mr. Josh. Thomas, i Mr. James Perrot ddyfod ar brawf yma, braidd yn ddioedi wedi marwolaeth Mr. Watkin Evan Edwards, efe yn ganlynol a dderbyniodd alwad unfrydol yr eglwys, a bu yn gydweinidog a Mr. L. James am tua deg mlynedd. Drwy yr amser hwn, bu yr eglwys yn dra chysurus, a bedyddiwyd llawer; ond yn y diwedd daeth amgylchiad o ddysgyblaeth ddolurus i'r eglwys. Yr oedd Mr. Perrot yn hollol argyhoeddedig o euogrwydd y pleidiau, eithr dadleuent hwy eu dieuogrwydd, a rhoddwyd cred iddynt. Diflasodd hyn y gweinidog, a bu yn achos iddo ymadael, gan symud i eglwys Croesyparc. Wedi iddo fyned ymaith, daeth euogrwydd pleidiau yn ddigonol i'r goleuni, diaelodwyd hwynt, a

gorfu i'r eglwys, wedi aberthu y weinidogaeth, ddyoddef y gwarth a'r golled. Y mae yma wers na ddylid ei anghofio. "Pwyll sydd well nag aur."

Fel y gwelir, nid oedd goruchwyliaeth Lewis James wedi ei gorphen eto. Bu efe fyw hyd y flwyddyn 1807, sef dros dair blynedd wedi ymadawiad Mr. Perrot.

Y mae yn perthyn i'r eglwys ei hun â'r eglwysi cymmydogol, amryw o frodyr a chwaeriorydd ag ydynt yn cofio gweinidogaeth Mr. Lewis James a Mr. James Perrot. Yr ydym yn ei ystyried yn briodol enwi y brodyr Lewis Jenkins, yn awr o Benyweirglawdd. Ganwyd ef yn y Berthlwyd, Llanfabon, yn y flwyddyn 1789; Thomas William Edwards, o Gwmbargod. Ganwyd ef yn Nghraig-fargod, tua'r fl. 1782. John Jones, Dillcdydd, Cefn-Hengoed, tua 77 oed; Thomas Jones, Pentref Celligaer, 87 oed; Thomas John Thomas, Mynyddislwyn, tua 80 oed. Trwy gof y brodyr yma yn neillduol, ac ereill yn ieuangach, yr ydym yn medru cysylltu yr hanes â'r cofnodion yn llyfrau yr eglwys, y rhai y dechreuwyd eu hysgrifenu gan ddiweddar weinidog yr eglwys, y Dr. John Jenkins. Yn ei law ysgrifen ef y mae y cofnodion ysgrifenedig cyntaf a feddwn; ac y mae lle i feddwl na chadwyd unrhyw hanesion ysgrifenedig yn ystod ugeiniau o flynedd-oedd yn flaenorol i hyn.

O hyn allan, o herwydd diffyg lle o fewn terfynau y llyfryn hwn, angenrhaid yw i ni fod yn fyr iawn, er ein bod o fewn meusydd toreithiog o gofnodion difyrgar ac adeiladol.

Y brawd Lewis Jenkins sydd a chof da ganddo am amgylchiadau ardal Llanfabon. Yn ol ei gof pellaf, nid oedd addoliad cyson yn cael ei gynnal yn y Berthlwyd, er iddo gael ei adsefydlu yn fuan. Clywodd L. James a James Perrot yn pregethu yno amryw droion. Pan ddaeth ef at grefydd, yn y flwyddyn 1805, er fod pregethu o bryd i gilydd, ac eglwys Hengoed yn gofalu fwyaf am yr ardal, eto nid oedd dim Bedyddwyr yn yr ardal, oddieithr un aelod yn perthyn i Hengoed, sef Mari Phillips, o'r Berthlwyd. Nid oedd un gyfeillach na chyfarfod gweddi yn cael eu cynnal. Cymmerodd Mr. Dafid Richards, o Gaerffili, arno ei hun yn gariadlawn i ddyfod i bregethu yno unwaith yn y mis, a thywalltodd Duw fendith ar ei lafur, argyhoeddwyd amrywiol. Wedi i amryw o ddynion ieu-

aingc felly gael eu tueddu at grefydd, penderfynasant yn mhlith eu gilydd i gyfarfod yn nhŷ Richard William Richard. Wedi cyfarfod, darllenai un bennod, os buasai yno un o honynt yn medru hyny; canent emyn weithiau hefyd os gallent, yna penlinient a gweddient bob un, y naill ar ol y llall cyn codi. Byddent weithiau wyth neu ychwaneg felly yn gweddio yn gyhoeddus. Nid oedd bryd hyn un aelod eglwysig yn eu plith i'w cyfarwyddo na'u cefnogi. Ond yn mhen ychydig, clywodd Mari Phillips am danynt, a daeth i'w plith, a bu yn foddion i'w cynghori a'u cyfarwyddo yn werthfawr. Ac yn fuan wedi hyn, daeth Mari Edwards, o Lancaiach Isaf, atynt. Yr oedd y chwaer hon hefyd yn perthyn i Hengoed, ac wedi gweled llawer o dywydd garw gyda'i chrefydd. Yr oedd y pryd hwn tua 60 oed, ac yn ddeallus iawn yn yr Ysgrythyrau. Byddai hi yn darllen pennod iddynt, ac yn eglurhau ei chynnwysiad yn oleu ac effeithiol iawn. Cof gan rai o honynt yn awr, y pwys a osodai ar fywyd teilwng o'r efengyl yn yr ieuengctyd, &c. Yn y llwyddiant a'r diwygiad y pryd hwn, bedyddiwyd tua 40 yn Hengoed a Chaerffili, o ben uchaf Llanfabon ac ardal ddeheuol Celligaer. Yr oedd aelodau y ddwy eglwys yn hollol un a chytun, a dyddiau gorfoledd a llawenydd ydoedd.

Yn flaenorol i hyn yn yr ardal hon, y Methodistiaid oedd luosocaf. Nid oedd eu haelodau yn aml, ond eu dylanwad yn gryf. I gapel Mafan y cyrchai yr ardalwyr i wrando yn dyrfaoedd mawrion, a chyfarfodydd rhagorol a gafwyd yno. Cof ganddo am Christmas Evans a John Evans (y Meth) yn pregethu yn nghyd yn y Berthlwyd, gydag effeithioldeb mawr. Hefyd, John Evans, Penygarn, yn pregethu yn Llancaiach Isaf, a'r dyrfa yn cael ei hysgwyd yn ol ac yn mlaen fel coedwig gan wynt, a'r moliant yn llanw yr holl dŷ. Yn y tŷ bychan wrth y Berthlwyd y cyfarfyddent y pryd hwn, ond gorfuwyd troi allan i'r *baily*, ac i'r ysgybor; y lle yn llawn o ddynion. Clywodd C. Evans, Samuel Breese, T. Davies, o'r Glyn, y pryd hwn, Argoed wedi hyny, yn pregethu yn yr ysgubor. Dyma yr amser yr adfywiodd y Berthlwyd, yr hon ardal oedd wedi ei hesgeuluso yn ol tebygolrwydd, er ys llawer o flyneddoedd. Mr. D. Richards, Caerffili, fu yn offerynol i adfywio y Bedyddwyr, ac i adennill yr ardal unwaith drachefn, ac am byth, fel yr ydym yn hyderu. Ni bu yr ardal hon heb

bregethu cyson ynddi wedi hyny hyd y dydd hwn. Yn yr amser cyntaf a nodasom, yr oedd y chwaer Rachel Williams, o'r *Rock*, Rhymni, a'r diweddar frawd selog Lewis James, Coed-y-brain, Bedwellty, yn cyrchu i'r cyfeillachau i'r Berthlwyd; yr oedd yno grynhoad mawr allan o ddosparth helaeth o'r wlad.

Y mae y brawd Thomas William Edwards yn cofio yn dda am ardal mynydd Celligaer, a'r nesaf ato ef mewn cof yw y brawd Thomas W. Dafis, o Bencraigfargod. Cof gan y blaenaf yn eithaf glywed ei fam yn adrodd amgylchiadau ymadawiad Craigfargod. Yr oedd hi yn aelod yn Hengoed y pryd hwnw, a bu felly hyd ei marw. Joan oedd ei henw, a mawr oedd ei sêl dros yr athrawiaeth iachus. Cof gan y ddau frawd hyn fod mewn cyfarfod yn Nghlwyd Trawsgoed, a Mr. Dafid Olifer yn pregethu yn Arminaidd, a Shiwan yn methu dal i wrando, ac yn tori allan, "Paid dweyd celwydd, Dafydd Olifer." "Tewch a son, modryb Shiwan," meddai yntef, "buom yn gyfeillgar er ys llawer dydd." "Do," ebe hithau, "yr oeddwn yn caru dy berson a dy athrawiaeth y pryd hwnw,—pregetha y gwirionedd, Dafydd." Yna aeth efe yn mlaen a'i bregeth, ac ar y diwedd bu dadl frwd rhyngddynt, yn yr hon y golygai y gwyddfodolion mai Shiwan oedd drechaf, er ei fod yn hysbys fod Mr. D. Olifer yn wr galluog. Hi a fu yn cyrchu gyda'i theulu am ugeiniau o flyneddoedd tua Hengoed, gyda ffyddlondeb didor, er fod ganddi o leiaf ddeg milldir o ffordd i'w theithio bob tro. Y mae amryw ag ydynt yn gwneuthur yr un peth, a phellach ffordd hefyd, hyd y dydd heddyw, yn neillduol Mrs. Margaret Morgan, Ysgwyddgwyn Isaf. Y mae ein hen frawd, adroddwr yr hanes, er yn ddystaw a diswn iawn, er pan oedd yn dyfod dros gîl ei fam, wedi bod yn cyrchu o'r unrhyw ardal. Nodwn un hanesyn yn mhellach o'i eiddo. Cof ganddo am "Christmas" yn nhŷ ei dad chwaneg nag un tro,—unwaith wedi danfon ei gyhoeddiad i addoldy Craigfargod, a chwedi ei wrthod. Mr. E. Evans oedd yn weinidog yno yr amser hwnw, ac ar yr amgylchiad cyfansoddodd Mr. C. Evans, y pennill canlynol:

"Fy nghyhoeddiad a wrthodwyd yn Nghraigfargod ar y llawr,
"Waith fy mod yn athraw iachus, nid yn hen Arminian mawr;
"Y mae Evans wedi chwyddo, fel cwmwl gwael o flaen y gwynt,
"Yn dâl i fyny hen ddaliadau Arminus a Sosinus gynt."

nol; a'r cwrdd parotoad ar y Sadwrn cyn y cymundeb; eithr llwyddais cyn hir i godi cyfarfodydd gweddio a chyfeillachau crefyddol. Er nad oedd yr eglwys, yr amser y daethum yma, ond o gylch 90 o aelodau, eto, trwy gynnydd graddol, ac ychydig lwyddiant anarferol yn 1841-2, cefais y fraint o'i gweled dros dri chant o aelodau." (Hanes Buch. J. Jenkins, tud. 39, 40.)

Yn unol â'r dystiolaeth yna yn hollol, y mae y brawd L. Jenkins yn cofio pan nad oedd yr eglwys yn meddu ar un cyfarfod gweddi drwy yr holl ardaloedd; cyflwr o iselder ag y mae yn anhawdd yn bresenol i ni ddychymmygu am ei oerfelgarwch mewn eglwys o bedwar-ugain-a-deg o aelodau, yn enwedig pan nad oedd ond un cyfarfod bore y Sabbath yn yr addoldy, a phregeth yn yr hwyr yn yr ardaloedd pellenig. Gwir fod yr aelodau yn wasgaredig o ganol plwyf Bedwas, ac ochr Eglwysilan, hyd yn agos i ran uchaf mynydd Celligaer, lle yr oedd y rhan fwyaf o'r eglwys, fe allai; ond braidd y gallasai hyn gyfiawnhau y diffyg llwyr o gyfarfodydd gweddi. Cof gan y brawd a enwasom godi y cyfarfod gweddi cyntaf yn y Gwrthonor, Cilfachfargoed, ac ardal y Pentref, wedi hyny. Cyfeillach ar y Sabbath oedd y cyntaf; wedi hyny, cyfeillach pen y pythefnos, fel yn bresenol, i'r holl eglwys, er ys tua 45 mlynedd yn ol; ac ni bu y sefydliadau hyn farw mwyach.

Canlynodd llwyddiant lled gryf y mesurau hyn, yn enwedig yn ardal mynydd Celligaer; a chof gan Thomas William Dafis, Margaret Morgan, ac ereill, am y cyfeillachau gwresog a lluosog yn y Tŷ Llwyd, a Thwyngytyn, lle y gwelwyd cynnifer a hanner cant yn cynnal cyfeillach grefyddol. Parhaodd i gael ei chynnal felly wedi i'r gweinidog symud i Ferthyr Tydfil i fyw, o'r hwn le y teithiai yno yn aml. Y pryd hyn yr oedd y brodyr perthynol i gapel Sion a Hengoed yn cydweithio yn gariadus, yr hyn a barhaodd hyd adeiladu Cwmyfelin; yr hwn a osodwyd mewn man anghyfleus, ac felly methodd y brodyr o Hengoed gydlafurio, er na ddarfu iddynt daflu rhwystr ar y ffordd. Wedi hyn, symudwyd y gyfeillach i'r Ysgwyddgwyn Isaf, lle y bu yn cael ei chynnal am amryw flyneddoedd, ac nes i iechyd y Dr. Jenkins ddechreu gwanhau.

Y cyfryw fu y llwyddiant yn yr ardaloedd hyn, fel mai nid peth anghyffredin oedd gweled hanner cant o aelodau

ac ereill yn cyfarfod ar heol mynydd Celligaer, ar geffylau a thraed, yn ymlwybro tua Hengoed ar foreu Sabbath, yn neillduol Sabbathau "pen y pythefnos" a "phen mis," heb braidd neb o honynt a llai nag o 6 i 12 milldir i'w teithio cyn dychwelyd yn ol. Ond gyda bod nerth y gweinidog yn gwanychu, ac angeu yn hawlio ei ddeiliaid, gan eu cyrchu i derfynau ei lywodraeth, gwelwyd y teithwyr felly, naill ai yn myned o'r golwg yn llwyr, neu henaint yn eu caethiwo, neu ynte fod yr eglwysi cymmydogaethol wedi rhoddi lletty iddynt. Y mae eglwysi Cwmyfelin, Pontaberbargoed, a'r Brithdir, yn bresennol wedi cael y tir bron yn gyfangwbl, a hyny o herwydd fod canghenau isaf yr eglwys am gyfyngu gwasanaeth eu gweinidog yn gyflawn iddynt hunain, ac yntef yn barnu y dylai yr ardal gael ei rhoddi fynu i ofal gweinidogion parchus yr eglwysi uchod, sef Mr. Wm. Jones, a Mr. Wm. Williams. Gan hyny, nid oes ond ychydig drwy holl ardal mynydd Celligaer yn cyrchu i Hengoed yn bresennol; neb ond y rhai hyny ag na fynant i'w cariad oeri at, ac nas gallant anghofio etifeddiaeth eu tadau a'u mamau y tu yma iddynt syrthio i'w gorphwysfa lonydd yn monwent Cefn Hengoed, man sydd wedi ei gyssegru gan weddillion daearol eu cyndadau am oesau. Felly y mae enw canghen yr "Ysgwyddgwyn" wedi cael ei symud o gofres y Gymmanfa y flwyddyn hon; eithr nac anghofier mai dyma ardal enedigol eglwys Hengoed tra byddo tafod yn medru moli Duw ein iachawdwriaeth.

Yn fuan wedi sefydlu yn yr eglwys, darfu i Shon Siencyn helaethu ei weithrediadau lle bynag yr oedd drws yn cael ei agor, a chafodd dderbyniad croesawgar ar bob llaw. Yn ardal yr Argoed, y Gellidywell, Coedybrain, &c., bu bendith ar ei lafur. Cof gan rai am dano yn bedyddio yn yr Argoed frodyr ag oeddent yn cael eu cymmodi yn Hengoed. Eithr nid am gasglu diadell i fod dan ei law ei hun yr oedd efe, ac heb fod yn hir, annogodd y brodyr yn yr ardal hòno i ymglymu a'u gilydd, ac ymddiried yn yr Arglwydd. Felly, yn y flwyddyn 1817, corpholwyd eglwys yr Argoed; ac fel yr oedd ef wedi bod yn achles iddi o'r blaen, bu yn feithringar iddi lawer tro wedi hyny. Arosodd y chwaer Martha Lewis, o'r Gellidywell, a Mrs. Amelia Saunders, o Fedwellty, a daeth Mr. Lewis James, Coedybrain, i Hengoed, lle y buont oll,

ynghyd a'r chwaer Mary James, o'r *Factory*, yn gyfeillion anwylaidd y gweinidog, ac yn aelodau ffyddlon o'r eglwys.

O ardal yr Argoed, yr ydym yn tynu yn îs i lawr, ac yn fwy i'r dwyrain. Yma y mae y weinidogaeth yn cyrhaedd cefn Mynyddislwyn, Cwm y Gelligroes, &c. Am y gweithrediadau yn yr ardal hon er ys mwy nâ deugain mlynedd yn ol, y mae y brawd Dafid Williams, o'r Carllwyn gynt, yn awr o Bontllanfraith, a'r brawd John Nicholas, o Benycwrau, a'r chwaer Ann Evans, o Waunfo, Morganwg, yn cofio yn dda. Yr oedd Shon Siencyn yn pregethu yn aml yn y tai uchod, a thŷ Thomas Evans, y gof, a'r Heolddu, &c. Cynhelid cyfeillachau crefyddol a chyfarfodydd gweddi wythnosol drwy yr ardal, gan frodyr o Bulah a Hengoed. Cof genym fedyddio amrywiol wrth y Gelligroes tua'r flwyddyn 1827, &c., yr hyn a achlesodd y tir, ac a'i gwnaeth yn barod i ail-sefydlu y Twyngwyn, yr hon eglwys a ail-gorpholwyd yn y fl. 1828.

Yn flaenorol i hyn, yr oedd y gweinidog wedi bod yn preswylio yn hytrach yn bellenig o ardal yr addoldy, sef wedi gadael Pencarth, bu yn breswylio ar y Glebeland, Merthyr, ac yn y Tŷ Twppa, wrth yr Ysgwyddgwyn; eithr yn 1827, adeiladodd Maesycwmwr, a symudodd yno i fyw. Gosododd hyn ef yn ymyl yr addoldy, ac yn gyfleus i ran isaf y gynnulleidfa a'r ardal, yr hwn ddosparth oedd wedi ei esgeuluso i raddau yn flaenorol. Ond yn ddioedi y mae ei sylw yn cael ei dynu, ac y mae yr eglwys yn cael ei dihuno, ac yr ydym yn cael fel hyn, yn llyfr yr eglwys, "Chwef. 16eg, 1827, mewn cwrdd eglwys, cytunwyd i gadw cyfarfodydd gweddi tu uchaf ac islaw yr addoldy, mewn gwahanol fanau, nos Sabbathau pen yr wythnos, a phen tair wythnos o'r Sabbath cymundeb; a bod cyfarfodydd gweddi i gael eu cadw ar wanhan yn yr unrhyw barthau, nos Fercher a nos Iau, bob wythnos; gan ddymuno i'r brodyr oll ymdrechu cynnorthwyo eu gilydd bryd bynag y byddo cyfleusdra yn caniatau." Tebygol yw, bod Ysbryd Duw yn cynhyrfu y penderfyniad hwn; o'r hyn lleiaf y mae yn ffaith i dipyn, ac nid ychydig hefyd, o "llwyddiant anarferol" ganlyn y dygiad i weithrediad y penderfyniad uchod; canys nid anghof yw y tymhor hwn gan amryw, sef oddiyma ymlaen i ddiwedd 1829; yn ystod yr hwn amser, ychwanegwyd llawer o enwau yn Sion

drwy yr adaloedd: ïe, y mae gan yr ysgrifenydd a'i gyfoedion crefyddol, achos i beidio anghofio gwres tanllyd diwygiad y flwyddyn hon a diwedd yr un flaenorol. Er nad oedd swn mawr gydag ef, ac er nad oedd yn helaeth iawn, yr oedd yn fywiol, a'r effeithiau a fuont yn barhaol. Cafodd y gweinidog y pryd hwn y rhagorfraint o weled yr oll o'i blant, sef ei ddau fab, a'i ferch Martha, gwraig y brawd Daniel Price, Ystrad, yn canlyn yr Oen, ac ar yr un pryd, ddwy ferch ieuainc, gwragedd wedi hyny i'w feibion, sef Elizabeth Hook, priod Mr. John Jenkins, Llydaw, ac Anna Edwards, o Dredomaen, yr hon ni chafodd ond bywyd byr wedi hyn. Y pryd hwn y bedyddiwyd amrywiol yn nghylchoedd yr addoldy, yn neillduol o'r tyddyndy olaf a Phenallta Fawr, ac yr oedd yr achos yn dra blodeuog.

Dywed y rhai ynt yn cofio, fod gryn drafferth wedi bod i ddarbwyllo yr eglwys i fyned i ychydig draul i wneyd cyfnewidiad bychan a gwir angenrheidiol yn yr hên dŷ, rhyw un-flynedd-ar-bymtheg yn flaenorol, ond yn awr yr oedd addfedrwydd mawr yn yr eglwys, ac felly ni chafwyd ond ychydig drafferth i benderfynu adeiladu tŷ cyfarfod newydd hollol yn lle yr hên; cymmeryd at y gorchwyl gyda pharodrwydd arbenig, o herwydd fod y tŷ lawer yn rhy fychan i'r gynnulleidfa, ac anghyfleus i gymuno ynddo. Cafodd y tŷ newydd ei agor yn y flwyddyn 1829. (Gweler "Meddiant yr Eglwys.")

Y mae genym eithaf cof am gyflwr yr eglwys yr amser hwn, ac y mae yn gweddu gosod rhai pethau ar gof a chadw; canys yr oedd y tymhor hwn yn *grisis*, yn fan yr ennill neu golli tir, yn fan megis genedigaeth newydd neu ddiboendod i'r eglwys; ac y mae diolchgarwch bythol yn ddyledus i Dywysog Israel, efe a'i dygodd yn ddiogel, megis o dir caethiwed i ryddid gogoneddus plant Duw, o ran amryw o'r grasusau gweithredol. Gwir fod heddwch yn ffynu, a chwedi ei fwynhau am dymhor maith, yr hyn ni allasai fod heb gariad brawdol cryf, a phurdeb dysgyblaeth yn helaeth; eithr yr oedd y weinidogaeth yn cyrchu at uwch nod, ac am weled rhinwedd yn ei blodau yn ei holl ganghenau; yr hon wers yr oedd bugail yr eglwys wedi bod yn ymdrechu ei dysgu iddynt am flyneddoedd yn ei weinidogaeth a'i esiampl ei hun; canys gwell fuasai ganddo oddef angen ei hun nâg i neb feddwl ei fod ef yn *gwasgu ar neb, na* bod neb arall mewn diffyg ychwaith.

Yr oedd yr eglwys er ys mwy nâ chann mlynedd wedi bod braidd yn ddiddyled, ac yn ol hanes safadwy, drwy holl weinidogaeth Lewis Siams (yr hwn oedd yn byw ar ei feddiannau ei hun, ac heb ddeall yr egwyddor o gyfranu at gynnaliaeth yr achos erioed), bron yn hollol ddiffygiol o haelioni calon nâ llaw. Dywedir wrthym mai yr holl dâl a roddid i'r hen fugail a enwyd, oedd ambell swllt iddo gael *snuff*, yr hyn yr oedd yn dra hoff o hòno. Ac am ei haelionusrwydd ef ei hun, pan yr oedd un-brawd ar dro yn cyfranu 6c at gasgliad, efe a arwyddai ei syndod, gan ddweyd mai ceiniog yr oedd efe ei hun yn ei rhoddi! Nid rhyfedd, ynte, fod yn rheidiol cael 20 mlynedd o lafur diflino i symud effeithiau yr hanner neu y cann mlynedd blaenorol. Felly cofus yw genym, cyn adeiladu y tŷ presennol, anhawdd iawn oedd cael casgliad bychan at yr achos mwyaf teilwng; eithr mewn modd rhyfedd, darfu i'r ymdriniaeth â, a thalu am adeiladaeth y tŷ newydd, gael ei fendithio i gynnyrchu ysbryd newydd drwy yr holl eglwys; deallasant nad oeddent ar eu colled o'u cyfraniadau,—fod Perchen y tŷ yn gofalu yn dirion am ei breswylwyr. Yr oeddent nid yn unig yn cyfranu yn ewyllysgar at y ddyled, ond hefyd yn barod at bob casgliad teilwng a ddeuai heibio. Ac er iddynt orfod ymdrechu yn galed am tua chwech mlynedd i dalu am yr addoldy, nid oeddent wedi blino; canys yn fuan ar ol hyn, er nad oeddent wedi cael cynnorthwy gan y sîr eu hunain, pan wnaeth y gymmanfa gynllun tuag at dalu dyled eglwysi y sîr trwy gydweithrediad, casglodd yr eglwys mewn un flwyddyn £60. Ni weithredodd yr eglwysi yn ffyddlon at y cynllun, a gorfu i'r eglwys gadw ei harian yn ei llaw am tua blwyddyn, pryd y cynnygiodd, os buasai yr eglwysi yn casglu digon i dalu dyled addoldy tref Llantrisant, y buasent hwy yn rhoddi y swm uchod a'i llog at y dyben hwnw. Hyn a wnawd, a thalwyd y ddyled mewn cyfarfod chwarterol yno, Chwef. 5ed, 1840.

Tua dechreu yr amser am yr hwn yr ydym yn son hefyd, rhoddodd rhagluniaeth gyfleusdra arall i'r ysbryd hwn weithio. Yr oedd bachgen dall tlawd yn perthyn i blwyf Celligaer. I'r dyben o'i alluogi i ennill ei fywioliaeth, yr oedd wedi ei ddysgu i chwareu y crwth yn y dafarn a'r dawns. Rhyw gyfle neu gilydd, cafodd gras y nef afael ar ei galon; daeth euogrwydd i mewn, ac achosai i'r bwa syrthio oddi-

rhwng ei fysedd; gorfu arno ymwasgu at blant Duw, ac anhawdd darlunio y caledi yr aeth drwyddo yn mwlch yr argyhoeddiad, &c. Wrth reswm, yr oedd yr eglwys hefyd yn ngwyneb canfod llwybr ei gynnaliaeth yn anghyson ag anrhydedd crefydd, yn gweled yn amlwg fod rhaid rhoddi preswylfod i'w berson, yn gystal a rhoddi ei enw ar lyfr yr eglwys; ond erbyn clywed profiad a derbyn cyffes "Abram Ddall," nid oedd unrhyw anhawsdra gyda y cwbl oll, ond yr oedd pob calon a theulu a drws agored i Abraham. Cynnaliwyd ef heb air o achwyn gan yr eglwys am tua thair blynedd, pan y cafodd ei "arwisgo â'r tŷ nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd." Nid yw yn arferiad, ac ni fu yn arferiad i ganu ar hyd y ffordd mewn angladdau gan yr eglwys hon, eithr yr oedd Abraham Watkins wedi rhoddi pennill i'w frodyr i'w ganu yn ei angladd, yr hwn a roddwyd allan cyn codi y corff; ac er fod tua milldir o ffordd, ac er yn ein barn oeraidd nad oes synwyr mewn canu emynau yn iaith yr ymadawedig, methwyd tewi, ond canwyd ac wylwyd yr holl ffordd i'r addoldy,—

"Ffarwelwch, frodyr anwyl iawn,
Dros ennyd fechan ni 'madawn;
Henffych i'r dydd cawn eto gwrdd,
Yn Salem fry oddeutu'r bwrdd."

Tua yr haf 1832, y daeth i feddwl y brawd Thomas Lewis i adeiladu yr addoldy bychan, yr "Oruwch ystafell," sef Bryn Miser, wrth Bontaberpengam. Gofynodd gydsyniad yr eglwys, yr hyn a gafodd; a thalodd yr eglwys ardreth am dano hyd oni adeiladwyd y tŷ mwy cyfleus presennol. Bu y Mrd. Lewis Jenkins, a Wm. Davies, Gwrthonor, a Mr. Rosser Thomas, yn gefnogaeth iddo yn hyn. Agorwyd Bryn Miser dydd Nadolig, y flwyddyn hono, pryd y pregethodd y gweinidog, a Mr. B. Williams, y pryd hwnw o Bulah. Bu y tŷ bychan hwn, i'r hwn yr oedd llawr a *gallery*, yn wir wasanaethgar.

Am ardal yr hen Berthlwyd, lle bu lletty y fam eglwys am gynnifer blwyddyn yn y ddwyfed gannrif ar bumtheg, (gwel. tud. 29,) ni chafodd ei esgeuluso dan y weinidogaeth hon. Nodasom fod y clod o adfywiad yr achos yma yn perthyn i lafur Mr. D. Richards, tua'r flwyddyn 1804-5, yn yr hyn y cydweithiodd Mr. J. Perrott, a chlywodd y brawd L. Jenkins Mr. L. James hefyd yn ei

henaint yn pregethu yma. Wedi sefydliad y Dr. J. Jenkins, cynaliwyd pregethu yn gyson a didor yma unwaith y mis o leiaf, a sefydlwyd cyfeillachau crefyddol a chyfarfod gweddio. Ni fu yr ymdrechion hyn yn ddifendith oddiwrth y Pen Bugail, yr hwn gynt a ofalodd am ei ddeadell yn nghanol eirth a bleiddiaid Siarls, Iago, a Bess. Gwnawd cadair-bwlpud at bregethu yma. Gwenllian Phillips, gweddw, a'i dwy ferched, Mari ac Ann, oedd yn preswylio hen dŷ y Berthlwyd, sef y tŷ ar y dehau yn ymyl y ffordd fawr o'r Nelson i Fonwent y Crynwyr. Cawsant fyw i weled yr achos wedi myned ar gynnydd nes daeth galwad am adeiladu tŷ addoliad, ac i'r achos gael ei symud yn drefnus a chryf i'r addoldy newydd; pryd, gydag adgof hiraethlon a dagrau hefyd, yr ymadawyd â'r hen breswylfod, yr hwn oedd wedi bod fel cwch llawn o fêl i gynnal y teulu drwy lawer gauaf gwywllyd; ac fel y tabernacl gynt, yn ddiaddurn allanol, ond a lanwyd â'r presennoldeb grasol gannoedd o weithiau, fel y darfu i ni deimlo lawer tro, pan oedd y tŷ, o'r ystafell uchaf i lawr yn mhob cwr, wedi ei orlenwi o bobl, yn gwrando fel am fywyd, a'r athrawiaeth am y Groes yn lloni eu heneidiau, a swn moliant drwy yr holl le. Hyd oni sefydlwyd cyfarfodydd gweddio yn Hengoed nos Sabbathau, yr oedd y trigolion o Dredomaen hyd Fonwent y Crynwyr, yn myned i'r Berthlwyd yn aml; ac ar foreu Sabbathau gwelid y brodyr a'r chwaeriorydd o ardal y Berthlwyd yn ymgyrchu, fel yr Israeliaid gynt, tua'r deml i Hengoed, i gydaddoli Duw, gan deithio o 5 i 10 milldir o ffordd bob tro. Ac er cael tŷ cysurus yn y flwyddyn 1841, ni fynai y frawdoliaeth yma dori yr hen gyssylltiad, ond parhau yn ddiflino a wnaethant, a hyny wedi "cytuno yn unfrydol i roddi gollyngdod" iddynt, "Ion. 9fed, 1850." Ni chymmerasant afael yn y rhagorfraint hyd Chwef. 2il, 1851, pryd y cafodd tri ugain ac un, "mewn modd unol, brawdol, a chariadlawn, yn ol eu dymuniad, ollyngdod rheolaidd a thangnefeddus," i ymgorpholi yn eglwys reolaidd i Grist yn y Berthlwyd. Yn mhlith y rhai a ymadawsant buasai yn hoff genym ysgrifenu gair am y brawd Thomas Thomas, neu fel y gelwir ef, Thomas Tailwr, ac ereill.

Fel yr ardaloedd ereill, yr oedd cymmydogaeth pentref Celligaer, wedi bod yn orsaf pregethu er ys blyneddoedd lawer. Tai y brodyr John Jones, a Thomas Jones, oedd

yn fwyaf arbenig yma yn dal y gwasanaeth, sef y *shop* a'r tŷ y mae mab y blaenaf, sef y brawd Thomas Jones, yn bresennol yn preswylio ynddo, a lle y mae ef a'i wraig yn lletya gweision yr Ion mor serchoglawn. Nid anghofiwn rai cyfarfodydd yma byth, yn y rhai yr oedd hwylusdod nefol. Ond rhyw fodd, ac y mae yn flin gan ein calon nodi hyn, medrodd y gelyn daro ei droed fforchog yn mhlith y brodyr yma, a pherswadiodd hwynt i ddanfon y llythyr canlynol at yr eglwys, ac enwau 30 o frodyr a chwaeriorydd wrtho:—"Cangen pentref Gelligaer, Mawrth 10fed, 1846. Yr ydym ni, y rhai y mae ein henwau isod, yn rhoddi ein haelodiaeth i fynu gyda chwi yn Hengoed, o herwydd rhywbeth annymunol sydd wedi cyfodi yn ein plith. Gan ddymuno pob llwydd i chwi ac i ninnau, ac O am harddu yr enw rhagorol a elwir arnom o hyn allan hyd y diwedd." Yr oedd yr annymunoldeb wedi tarddu oddiar fod yr eglwys, y flwyddyn flaenorol, wedi penderfynu gwneyd ymdrech i dalu dyled addoldy y Berthlwyd, ac yr oedd cangen y "Pentref" yn anghytuno â'r drefn o wneyd hyny. Barnodd yr eglwys fod ei dadgyssylltiad fel uchod yn afreolaidd, ac felly diaelodwyd hwynt. Eithr trwy y cwbl, ni fu yma deimladau mor annymunol ag y gallesid dysgwyl, ac felly ni wnawd niwed mor fawr. Yn mhen tua thair blynedd cafodd yr eglwys newydd aelodiaeth gymmanfaol, ac y mae yr eglwys a'r hen ganghen wedi ymgyfathrachu a'u gilydd yn gariadus yn ol llaw. Ar yr un pryd, y mae amser wedi dangos yn eglur mai nid dyma y ffordd briodol i ymganghenu; ac yr ydym yn sicr ein bod yn llefaru meddwl pob tu pan yn dweyd, mai gwell fuasai aberthu chwaneg nag a wnawd i'r dyben i bethau gael eu gwneyd yn ol ysbryd a rheol yr efengyl. Bydded hyn er addysg i'r cenedlaethau dyfodol.

Erbyn hyn yr oedd yr eglwys yn gyfyngedig i'r Ysgwyddgwyn, Bryn Miser, a Hengoed. Y pregethu bob bore Sabbath fel arferol, a dwy nos Sabbath yn yr addoldy, ac unwaith yn y mis yn y lleill. Felly y parhaodd drwy weddill bywyd yr hên weinidog a gweinidogaeth ei gydlafurwr.

Ond gan ein bod yn nesu at orphen hanes llafurwaith y tymhor pwysig hwn yn hanes yr eglwys, fe allai fod *cyfiawnder yn galw* am nodi, nad yw yr eglwys wedi bod

heb ei phwys tra neillduol er ys amryw flyneddoedd, yn hanes gweithrediadau a chynnydd yr enwad, o'r hyn lleiaf yn y sîr y perthyn iddi. Gellir nodi fod pob cynnygiad o bwys at les yr achos wedi cael ei sylw difrifol, ac na fu yn fyr o roddi sylwi a gweithredu ar bob mesur defnyddiol. Cof genym fod y gweinidog hwn wedi creu y fath deimlad yn yr eglwys yn y cysylltiad hwn, fel yr oedd yn gefnogaeth fawr iddo yn ei ymdrechion i sefydlu trefniadau effeithiol yn y gymmanfa. Nid oedd yr eglwys yn achosi iddo wridio yn hyn un amser; a thrwy ei ymdrechion ef, yn cael ei gefnogi felly, yn gydfynedol a chydweithrediad brodyr mor alluog a selog dros iawn drefn ag oedd Mr. W. Lewis, Aberdare, Mr. Wm. Jones, Caerdydd, a'r Dr. Daniel Dafis, gosodwyd i lawr sylfaen y trefniant sydd wedi gweithio mor rymus yn y gymmanfa hon y blynedd-oedd diweddaf. Heb ystyriaeth a ffyddlondeb yn yr eglwys, anmhosibl yw i un gweinidog fedru gwneuthur ond ychydig ddaioni yn ei gysylltiad cymmanfaol. Cyhuddiad ni fedrwyd ei daflu i wyneb gweinidog Hengoed oedd, "Nid yw eich eglwys chwi yn cydweithredu." Ac hysbys yw, i'r sîr gael rhan ddiymattal o sylw a llafur "Jenkins, Hengoed." Pregethodd yn y cyfarfodydd cyhoeddus drwy Gymru gannoedd o weithiau. Wrth ystyried hyn, *dygwyddiad cymmeriadol* oedd, mai yma, yn nghyfarfod chwarterol Chwef. 1855, y mabwysiadwyd yn derfynol Reolau presennol Cymmanfa Morganwg.

Yr oedd iechyd y gweinidog wedi bod yn adfeilio er ys tro, yr hyn nad oedd i'w ryfeddu wedi llafur mor bwysig a llwyddiant mor fawr; canys nid ymddengys hyd y nod lafur mawr Mr. Morgan Griffiths, a'r llwyddiant a gafodd, yn fwy, os cymmaint, ag eiddo y gweinidog hwn, tra yr oedd ei holl orchwylion awdurol, a'i lafurwaith cyfenwadol a chenedlaethol i'w ychwanegu atynt. Felly, ar ei ddymuniad ef, penderfynodd yr eglwys yn niwedd 1850, roddi galwad i Mr. Daniel Rees i ddyfod yn gydweinidog ag ef. Ordeinwyd ef Ion. 8, 1851, a bu yn llafurio yma hyd Hydref, 1853, pryd yr ymadawodd i Langynidr, sef yn mhen ychydig fisoedd wedi marwolaeth yr hen weinidog.

Wedi i'r eglwys fod am fwy nâ blwyddyn yn ymddibynol ar garedigrwydd gweinidogion a phregethwyr yr eglwysi cymmydogaethol, amser Nadolig, 1854, daeth Mr. Richard Williams, myfyriwr yn Athrofa Pontypwl, i dalu ymweliad

â'r eglwys; a chwedi ei brofi ond ychydig felly, Ion. 3ydd, 1855, rhoddodd yr eglwys alwad unfrydol iddo i gymmeryd ei gofal gweinidogaethol; â'r hon y cydsyniodd; ac ordeiniwyd ef yma, mewn cyfarfod chwarterol, trwy osodiad dwylaw gweinidogion Morganwg, Chwef. 7fed, 1855. Gweinyddodd yr Henuriaid canlynol yn arbenig ar yr achlysur:—Mr. Benjamin Efans, ar Natur Eglwys Grist'nogol; yr holiadau i'r gweinidog ieuangc a'r urdd-weddi gan Mr. T. Price, Aberdar; y bregeth i'r gweinidog gan T. Thomas, D.D.; a'r bregeth ar ddyledswydd yr eglwys, gan Mr. E. Efans, Dowlais. Aelod oedd Mr. R. Williams o eglwys Pandycapel, sîr Feirionydd.

Nid oes i'r eglwys yn awr ond un gangen, sef Pontaber-pengam, neu Bengam, fel y gelwir y lle fynychaf yn awr. Heblaw yr anghyfleusdra o'r esgynfa i fyned i Fryn Miser, yr oedd y tŷ lawer yn rhy fychan hyd y nod i ddal cyn-nulleidfa fechan; ac o herwydd fod y brodyr yno yn dyoddef oddiwrth y pethau hyn, nid oedd heddwch i'r eglwys ar y matter; ond byddai y brodyr John Morgans, Stephen Griffiths, Benjamin Waters, ac ereill, yn cynhyrfu y pwngc yn barhaus; a chwedi cael y gweinidog newydd cymmerwyd calon, ac ar yr 21ain o Fawrth, 1855, penderfynwyd adeiladu yr addoldy newydd yno; yr hwn a agorwyd, 1857. Amlwg yw, fod y mesur hwn dan ddwy-fol gyfarwyddyd, canys y mae bendith helaeth wedi ei ganlyn, y tŷ yn orlawn, ac ymddiddan parhaus am ei hel-aethu, yr hyn sydd yn angenrheidiol. Yn nechreu y flwyddyn hon, 1861, penderfynodd yr eglwys, ar ddymun-iad y gangen, i sefydlu pregethu yma bore Sabbath, y pen wythnos, a'r tair wythnos, a chyfarfodydd bob nos Sabbath, fel y maent wedi bod er ys llawer o flyneddoedd; a'r aelod-au i ddyfod i Hengoed foreu y Sabbathau ereill fel arfer.

Yr oedd yn amlwg er ys tro bellach, fod yr hen dir claddu wrth addoldy Hengoed, wedi ei lanw i raddau digonol os nid gormodol. Yr oedd y muriau o'i amgylch hefyd wedi dadfeilio yn fawr, yn gystal a bod y fynedfa iddo yn anghyfleus, &c.; felly yn y flwyddyn, 1858, pen-derfynwyd, ac ardrethwyd darn o dir cyfleus, y tu dehau i'r addoldy, i helaethu y tir claddu i gymmaint arall ag yn flaenorol; ac adeiladwyd muriau a gwnawd mynedfa hardd iddo.

Fel hyna yr oedd yr eglwys yn cael ei chadw yn ysbryd y gwaith; a chan y teimlid bob amser fod addoldy Hengoed yn dra anghysurus yn ei ffurfiad,—yr oriel yn rhy wastad o lawer, ac yn dyfod yn rhy bell ymlaen gyferbyn â'r areithfa; a bod y ddyfodfa iddo yn caniatau i'r gwynt ruthro i mewn ac yn gwneud y tŷ yn oerllyd, &c. gyda yr hyn yr oedd yn galw am gryn welliant o herwydd methiant. Yn y flwyddyn ddiweddaf penderfynwyd ei gyfnewid a'i gyweirio, trwy yr hyn y mae wedi ei osod yn ei agwedd gysurus bresennol. (Gwel hanes meddiant, &c. yr eglwys, tud. 73.)

Y mae Mr. Williams wedi cael yr uchelfraint o fod yn wir gysurus a llwyddiannus yma hyd heddyw, ac yr ydym yn awr yn ysgrifenu yn nghanol y flwyddyn 1861. Yn amser y gymmanfa 1854, nifer aelodau yr eglwys oedd 142. Eu nifer yn y gymmanfa y flwyddyn hon yw 204, o ba rai bedyddiodd Mr. Williams tua 105. I Dduw y byddo y moliant.

Wedi darllen yr hanes flaenorol, yr ydym yn tybied y cyfiawnheir yr eglwys yn ei phenderfyniad y flwyddyn ddiweddaf i gynnal Cyfarfod Jubili i glodfori a moliannu y Duw trugarog a graslawn a'i cynnaliodd drwy yr oesau; yn yr hyn y dymunem i eglwysi Cymru gydfoliannu. Yr ydym felly yn terfynu hanes gweithrediadau yr eglwys gyda y cyfarfod gwir ddylanwadol a hwylus hwnw, yn yr hwn, fel y dywedai un o ddiaconiaid yr eglwys ar ei ddiwedd, "y bu amddiffyn ar yr holl ogoniant." Nid ydym yn gwybod i gyfarfod o'r fath gael ei gynnal yn flaenorol gan yr eglwys, ond galwyd ef "Trydydd Jubili adeiladaeth addoldy Hengoed." Cynnaliwyd ef Mercher a Iau, Rhag. 26, a 27, 1860. yn yr addoldy. Yr oedd yn ddiwrnod oerllyd a chwerw anarferol, fel y methodd rhai hen frodyr ac amryw chwaeriorydd ddyfod o'u tai o herwydd y gwynt a'r eira, ac, fel y clywsom, yn colli dagrau o herwydd eu caethiwo.

Yr hwyr cyntaf, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan Mr. J. Jones; pregethodd Mr. William Williams, Mountain Ash, (1 Pedr i. 25,) a Mr. John Lloyd, Merthyr, (Salm cxxvi. 3, 4.) Am 9 bore dydd Iau, cynnaliwyd cyfarfod diolchgarwch yr eglwys, pryd y gweddiodd y brodyr Edward Lewis, Isaac Davies, Edward Edwards, Lewis Jenkins, Lewis Lewis, a John Morgans, sef rhai o aelodau ieuangaf a henaf yr eglwys. Yna darllenwyd talfyriad

byr o hanes yr eglwys gan Ll. Jenkins; a chanl
ef mewn traddodi cynnwysiad y pedair Darlith a we
y Llyfr hwn, gan Mrd. B. Evans, E. Evans, J. Ev
T. Price. Am 2 ar gloch, gweddiwyd am lwyddi
eglwys yn y dyfodol gan Mrd. W. Williams, B. Ev
Evans, a R. Williams, gweinidog; a thraddodwyd P
y Jubili, gan Mr. T. Price, oddiar Lef. xxv. 8–17.
6 ar gloch, wedi dechreu trwy weddi, pregethodd M
Evans, ac E. Evans, oddiar Esay liv. 9, 10; Rhu
21—24. Yn ystod cyfarfodydd y dydd hwn, canw
Hymnau isod, y rhai a gyfansoddwyd gan eu gw
awdwyr parchus at yr amgylchiad :—

## HYMNAU Y JUBILI.

HYMN I.

Daeth blwyddyn "trydydd jubili,"
I'n lloni ar y llawr;
Mae'n tadau gwedi'n blaenu'n llu
I feddu'r jubil fawr.

Mae'n hyfryd cofio tymor maith,
Holl daith yr anial dir,
Rho'es Duw o'i ras ei wenau llon,
I'r eglwys hon yn hir.

Ni gawson hawl i'r nefoedd wen,
Drwy lawen jubili,
Pan gawsom iachawdwriaeth lawn,
Trwy'r iawn ar Galfari.

Fe gaiff yr Iesu fythol glod
Am iddo dd'od yn ddyn;
Yn cadw gwyl y jubil fawr
Bydd nef a llawr yn un.

*R. Ellis, Sirhowy.*

HYMN II.

Ein Tad, yr hwn wyt yn y nef,
Dyrchafwn it' soniarus lef;
Nid oes yn deilwng ond tydi
O foliant ar ein jubili.

O oes i oes dy enw sy'
Yn peraidd seinio yn dy dŷ;
Er galw'th blant i'r nef o'r byd,
Tydi yn aros wyt o hyd.

O aros Iesu yn dy waith
Nes dwyn yr arch i ben ei thaith,
'Nol hyny cawn roi mawl i ti,
Mewn un dragwyddol jubili.

*Aneurin Fardd.*

HYMN III.

Tadau anwyl sydd yn blaenu,
Brodyr hoff sy'n gado'r byd:
Ond, mae'n grasol Brynwr Iesu,
Beuddwr angau'n fyw o hyd:
Ni all gelyn rwystro'r arfaeth,
Nertha ef ei eglwys gu;
*O genhedlaeth i genhedlaeth*
*Cadw hon ei jubili.*

Arglwydd, llanwa ein calon
A rhyw bur nefolaidd dân;
A rhyddha ein bloesg dafod
I roi iti beraidd gân;
I dy enw mawr bo'r molian
Boed y clod yn llawn i ti,
Am ein harwain yn ddiballi
Hyd ein trydydd jubili.

Buost yma yn arweinydd
I rai gweiniaid yn y glyn,
Rhai sydd bellach mewn lla
Gyda'r Oen ar Sion fryn;
Yma eto boed dy wyneb,
O bydd yma'n wr y tŷ,
Hyd nes cwrddom oll mewn
Yn y nefol jubili.

*J. Emlyn Jones, Pe*

HYMN IV.

Ardal Hengoed, dewch, unv
I gadw jubili;
Ein tadau fuont yma'n hau,
Ond medi'r ydym ni.

Wele'r bywyd wedi arbed,
Er i'n gynal jubili;
I roi moliant am ein gwared
Ac am ryfedd ras i ni:
Ardal Hengoed, &c.
Mae ein dyled yn dra mawr.

Cant a haner o flyneddoedd
Er pan cafwyd yma dŷ
I'r Bedyddwyr dd'od yn gyl
A bedyddio yma'n hy:
Gweddus, gweddus, &c.
Ydyw cynal jubili.

Y flwyddyn hon yw'r drydy
I bobol Hengoed roddi clo
I'r Cynhaliwr mawr, ac ym
Am fod llwyddiant eto yn
Boed dysgwyliad, &c.
Ynom am ei ras o hyd.

*D. Jones, Tongwyn*

## ATHRAWIAETH YR EGLWYS.

Y mae yn ddiamheuol mai yr athrawiaeth Galfinaidd sydd wedi ei choleddu gan yr eglwys hon drwy bob oes. Gwelir golygiadau ei gweinidog cyntaf yn tudal. 70, pryd yr oedd yn amddiffyn Calfiniaeth yn erbyn Arminiaeth. Gwir i'r eglwys gael ei llygru, o ran yr athrawiaeth, yn ystod diwedd gweinidogaeth M. Griffiths, a thrwy amser G. Jones, sef gan weinidogaeth Mr. Charles Winter, am 20 mlynedd; eithr er fod Arminiaeth i'w theimlo yn aelodau pellenig y corff fel cornwyd du, eto methodd droi natur y gwaed; gweithiodd y gwenwyn allan yn llwyr yn 1750. I'r dyben o ddiogelu iachusrwydd y ffydd yn ol llaw, yn ddiamheuol, y gosododd y brodyr y gyffes ganlynol yn rhan o *lease* y flwyddyn 1777, sef fod aelodau yr eglwys hon i "bregethu, dàl, tystio, a chredu yr athrawiaethau Ysgrythyrol canlynol,—sef, Undod yn y Drindod a Thrindod mewn Undod, pen-cynnrychiolaeth Adda, pechod gwreiddiol, etholedigaeth dragywyddol, prynedigaeth neillduol, galwedigaeth effeithiol trwy weithrediad effeithiol gallu Duw, parhad y saint mewn gras hyd y diwedd, cyfiawnhad gerbron Duw trwy gyfiawnder cyfrifol Iesu Grist yn unig, yn cael ei gyfranu i'r etholedigion trwy ffydd; fod y gyfraith yn llaw Crist yn rheol ymarweddiad a chyfeillach i bob Cristion; fod yr Ysgrythyrau yn cynnwys pob peth angenrheidiol eu credu gan Gristionogion, a'u hymarfer er eu hiechydwriaeth; fod Iesu Grist yn wir ddyn ac yn wir Dduw, dwy natur wahanol yn yr un person; fod ad-enedigaeth a sancteiddiad yn angenrheidiol er iechydwriaeth; fod iechydwriaeth o rad ras Duw yn unig; nad yw gweithredoedd da yn haeddedigaethol, eto yn angenrheidiol i brofi gwirionedd ffydd, ac yn gymmeradwy i Dduw yn Nghrist yn unig; adgyfodiad y meirw, y farn ddiweddaf, proffes bersonol o ffydd yn Nghrist cyn bedydd; mai dull ysgrythyrol bedydd yw trochi yn ddiesgeulus mewn dwfr; ac y bydd iddynt gynnal, arfer, a chadw y fath drefn a dysgyblaeth ag sydd yn unol â Gair ysgrifenedig Duw."

Cyfiawnder yw dweyd mai nid yn ngweinidogaeth na golygiadau aelodau yr eglwys y cafodd C. Winter ei Arminiaeth, ond oddiwrth Mr.T. Perrott, yn Athrofa Caerfyrddin, a gweinidogion llygredig ereill y tymhor, pan yr

oedd llifeiriant Arminiaeth wedi boddi llawer gwr glew; ond safodd gweinidogaeth a mwyafrif yr eglwys hon yn iach drwy y cwbl. Gwir fod y Dr. Richards, yn mhlith pethau rhy bleidiol ereill, yn dweyd fod Morgan Griffith wedi cymmeradwyo C. Winter yn olynydd iddo; ond y mae yn anhawdd i ni gredu hyn, oblegid fod pob ffaith yn tystio i'r gwrthwyneb.

Wedi tori C. Winter allan gyda 22 ereill, ffurfiasant eglwys Craigfargod; yr eglwys gyntaf o Fedyddwyr Arminaidd yn Nghymru. Y mae yr eglwys hon wedi marw er ys llawer blwyddyn, fel y gwelir ei darlun wedi crino ar y pren, yn nechreu y llyfr. Nid oes un eglwys o'r fath Fedyddwyr yn bresennol yn Nghymru, ac nid oes angen i'r enwad yma mwy fyned wrth yr enw "Neillduol," canys y mae y "Cyffredinol" wedi diflannu.

Gwir na oddefasid yn ein cof ni i brynedigaeth neillduol gael ei ddiraddio yn yr areithfa, ond yr oedd y cyhuddiad o Antinomiaeth yn berffaith anghyfiawn i'r eglwys a'i chyn-weinidog, canys cof gan amryw sydd yn fyw yn awr am ddyn o'r daliadau hyny yn cael gwrthod aelodiaeth iddo: a nodwn hyn hefyd fel prawf fod yr eglwys yn *deall* yr athrawiaethau. Cof genym yn dda mai y brawd John Jones, tad ein chwaer Mrs. E. Perrott, Hengoed Hall, oedd yn ymddiddan ag ef, ac yn ymresymu y pwngc mewn modd galluog. Yr oedd y gweinidog oddicartref y Sabboth hwnw, ond cydsyniai yn hollol yn yr hyn a wnawd. Cof genym hefyd wrthod dwy wraig barchus oedd yn dàl golygiadau Arminaidd. Ac y mae y wers hon i'w dysgu yma: pe buasai Morgan Griffith wedi canlyn yr un llwybr *ar y dechreu*, buasai *heddwch yr eglwys* wedi ei ddiogelu. Yn nhymhor twym dadl Ffwleriaeth, dan gysgod yr hon y pregethwyd llawer o Arminiaeth noeth, safodd yr eglwys gyda'i gweinidog yn oleubwyll a digyffro, yr hyn a fu yn siampl i lawer o eglwysi ereill i sefyll o blaid athrawiaeth iachus, yr hyn, feddyliem, y mae pob gradd o Galfiniaid yn awr, mewn gwaed oer, yn llawenhau ynddo. Gellir dweyd, yn yr holl hanfodion, fod yr eglwys yr un o ran ei hathrawiaeth yn awr ag oedd ddau cann mlynedd yn ol.

## YR YSGOL SABBATHOL.

Y mae ysgol wedi bodoli yma er ys llawer o flynedd-oedd; pa un a gafodd ei geni yn amser Morgan Rees, ac na

fu farw yn hollol mwy, nis gallwn ddweyd. Gwr ieuangc oedd efe tra fu gyda'i fam eglwys, a'r traddodiad yw mai mewn tŷ bychan yn agos i dŷ ei dad y dechreuodd efe ddysgu ar nosweithiau yn fwyaf neillduol.

Yr oedd yr addoldy yn sefyll mewn lle anffafriol iawn i blant fedru teithio iddo, ac felly y mae hyd heddyw, ar ben bryn uchel, ac mewn pellder oddiwrth y boblogaeth yn y dyffrynoedd o amgylch. Felly gwanaidd iawn oedd yr ysgol yn mlyneddoedd cyntaf ein cof. Y brodyr Griffith Williams, Thomas B. Dafis, ac Edward Edwards, fuont ei phrif attegwyr er ys o 35 i 40 mlynedd yn ol. Y mae yr olaf yn glynu yn ffyddlon wrthi hyd heddyw. Er fod yr ysgol wedi adfywio yn fawr er ys tua thair blynedd, ei chanolrif presennol yw 45, yn cynnwys wyth o athrawon. Y mae amryw o aelodau yr ysgol, megis y brawd W. Jones, Twyn Shon Evan, a meibion y brawd T. Thomas, Ty'rywen, yn cymmeryd eu hymborth gyda hwynt i Hengoed, i'r dyben o'u galluogi i fod yn yr ysgol a chaél yr odfaon hefyd, o herwydd pellder y ffordd. Bydd yn aml o 10 i 15 yn cymmeryd *té* yn yr addoldy. Yn Mhengam y mae ysgol wedi ei chynnal er pan adeiladwyd Bryn Miser. Y mae yr ysgol yno yn cynnwys tua 160 o blant, a 12 o athrawon.

## Y CYMMANFAOEDD

A gynnaliwyd yma a fuont yn y blyneddoedd 1652, 1654, 1711, 1715, 1722, 1730, 1738, 1751, 1768, 1791, 1812, 1845.

## COFNODION AM WEINIDOGION YR EGLWYS.

I. MR. DAFID DAFIS.—Dyma enw y brawd yr ydym yn rhoddi y flaenoriaeth iddo fel gweinidog yr eglwys. Ymddengys fod teulu parchus o'r enw Dafis yn preswylio yn ochr Orllewinol Morganwg, am y rhai y rhoddodd Mr. Griffith Jones, gweinidog dyfodol yr eglwys hon, yr hanes ganlynol. Ysgrifenodd hi o'r America, at Mr. Miles Harris, Ion. 1753. Dywed y dyfyniad "fod y mab hynaf o'r teulu, sef Mr. Dafis o Benmaen, yn Uchel Sirydd, (*High Sheriff*) yn 1659; a brawd arall yn is-Sirydd; a'r trydydd brawd yn Gofiadur; a'r brawd arall yn pregethu i'r Barnwr yn Nghaerdydd." Wrth yr hanes a gafodd ef, William oedd enw y pregethwr; eithr tybir mai camsyniad

oedd hyn, ac mai Dafydd oedd ei enw. Cafodd Mr. Jones yr hanes gan un a'i cafodd gan berthynas i'r teulu. Y mae y dybiaeth o'r teulu hefyd yn cael ei chadarnhau, o herwydd fod y Dr. Calamy yn dweyd fod D. Dafis o ardal Castellnedd. Dywedir fod i'r brawd a bregethodd o flaen y barnwr, y *titl* o M.A. Y dybiaeth yw mai y gwr hwn sydd yn cael ei olygu.

Dywed y Dr. Walker, (gwel *Sufferings of the Clergy*, *pt.* 2, *p.* 228,) i Mr. Covy, offeiriad Celligaer, gael ei droi allan o'i bersoniaeth o gylch 1641, ac iddo farw o gylch pedair blynedd wedi hyny. "Ar ol yr hyn," ebe y Dr. "darfu i'r plwyfogion ddewis* un Dafid Dafis, Ail-fedyddiwr, i fod yn athraw iddynt; yr hwn oedd i dderbyn y guradiaeth fel rhodd wirfoddol y bobl, ac i beidio ymhyraeth â'r degwm; mwy nâ hyny, efe a bregethodd am dair blynedd yn nghyd dros dori y degwm i lawr. Ond o herwydd i haelioni y plwyfogion syrthio yn fyr o'r hyn a fuasai y degwm yn ei gyrhaedd, dechreuodd Mr. Dafis fod yn anufudd, a chan droi ei chwedl, pregethodd o blaid hawl ddwyfol y degwm; yr hyn a roddodd dramgwydd mawr i dduwiolion y plwyf hwnw, ac a achosodd derfysg; ar yr hyn rhoddasant £160 iddo, a gollyngasant ef ymaith i fyned i bregethu yr efengyl mewn rhywle arall." Dyna hanes y Dr. Walker, eglwyswr sydd wedi dweyd llawer o bethau am weinidogion anghydffurfiol cydwybodol Gair Duw y tymhor hwn, (sef o 1641 hyd 1662,) nad oes digon o sylfaen iddynt mewn gwirionedd; ac yr oedd yn cymmeryd gafael ar bob peth a ddywedai eu gelynion i'w hiselhau a'u diraddio; ond sylwer, mai y gwaethaf a all efe ddweyd am D. Dafis yw, ei fod am gael tâl cyfartal i'r degwm, yr hyn, digon tebyg, oedd y plwyfogion wedi ei addaw iddo. Ond mwy tebyg yw, nad oes gair o wir yn y cyhuddiadd ei fod wedi pregethu yn erbyn a thros y degwm. Y mae hanes ei fywyd dyfodol yn brawf digonol o hyn.

Nid oedd Mr. Dafis, pan yn gwasanaethu ("duwiolion ?") eglwys plwyf Celligaer yn Fedyddiwr, neu yn "Ail-fedyddiwr," fel y geilw y Dr. ef mewn modd dirmygus. Yr oedd efe yn pregethu yno, y mae yn debygol, heb urddau esgobaethol, ac yn y drefn anghydffurfiol. Yn mhlith llawer ereill, tua yr un amser, goleuwyd ef am drefn ys-

* Rhagorfraint na wyr plwyfogion Celligaer, nac un plwyf arall, yn awr ddim *am dani. Oni fyddai yn gyfiawn* i hyn fod yn awr yn gystal a'r amser hwnw?

grythyrol yr ordinhad o fedydd, ac anfonodd am Mr. John Myles, o Ilston, i ddyfod i Gelligaer i'w fedyddio ef; pryd, yn lle ymdrechu am y degwm, yr ymadawodd â'r eglwys a'r plwyf, ac aeth i breswylio i ardal Abertawe. (Gwel. tud. 15.) Y terfysg y mae y Dr. Walker yn cyfeirio ato, feddyliem, oedd pregethu ar fedydd, neu fe allai ddadl a ddygwyd yn mlaen gan Mr. Dafis yn eglwysi Celligaer a Mynyddislwyn. Cafodd dderbyniad gan eglwys y Bedyddwyr yn Ilston, yn ddiamheuol ar gymmeradwraeth John Myles a Thomas Proud, y rhai oeddent wedi bod yn ei fedyddio ac yn medru dwyn tystiolaeth i'w gymmeriad da. Dywed yr "Extracts" yn mhellach, "Gan i ni (yr eglwys) ei gael ef yn meddiannu rhodd (dawn) dda rhagorol, ac yn alluog at waith mawr y weinidogaeth, nyni a farnasom yn addas, gan gael ein cynnorthwyo hefyd gan frodyr pennodol o'r eglwys yn y Gelli, ag oedd wyddfodol ar y pryd, ei ddanfon ef allan i bregethu yr efengyl i'r byd, gan ei gyflwyno ef drwy ein gweddiau i râs Duw."

Y mae cyssylltiad Mr. Dafis ag eglwys Hengoed yn dechreu gyda'r corffoliad, fel y gwelir yn nhud. 15. Tra amlwg yw, mai efe oedd wedi bod yn offeryn i ddwyn y brodyr yn rhan ddwyreiniol y sîr, o fewn cylch gwybodaeth y brodyr yn Ilston; ac mor amlwg a hyny yw, fod y frawdoliaeth yn Nghelligaer a'i chylchoedd yn ffrwyth llafur pregethiadol y brawd ffyddlon hwn; ac felly gallwn, yn dra phriodol, ei enwi ef yn *dad* y Bedyddwyr yn yr ardal hon.

Y mae yn debygol mai i'r dwyrain y trodd efe ei wyneb ar ei ddanfoniad allan gan eglwys Ilston, er fe allai na sefydlodd yn ddioedi yn weinidog yr eglwys yn Llanharan, ond yr oedd felly cyn mis Mawrth, 1651, pryd y cynnaliwyd cymmanfa Caerfyrddin. Yno penderfynwyd, "pan fuasai y brawd D. Dafis yn y Gelli, fod i ryw frawd o'r eglwys hòno gael ei ddanfon i Gelligaer neu Lanharan, fel na buasai yr eglwys yn Llanharan yn cael ei niweidio drwy absennoldeb y brawd D. Dafis."

Yr ydym yn cael ein tueddu i farnu mai yn y flwyddyn 1653 y cymmerodd y ddadl le rhyngddo ef â'r cyn-offeiriad dysgedig a doniol, Mr. Wm. Erbury, o blwyf Mair, Caerdydd. Yn eglwys Llantrisant, y cymmerodd y ddadl le, ac yn y lle hwn yr oedd yr eglwys hon yn cyfarfod yr amser hwnw, fel nad oedd Mr. Dafis yn gwneud

dim ond cyflawni ei ddyledswydd fel gweinidog y Bedyddwyr yn y lle, wrth wrthwynebu rhai o olygiadau cyfeiliornus Mr. Erbury. Mynegiad Mr. Erbury ei hun sydd genym o'r ddadl.* Wedi rhoddi ychydig eglurhad ar ei olygiadau, dywed, "Ië, un o'ch bugeiliaid neu eich athrawon chwi eich hunain, (gan ddyfod yn fwriadol i wrthwynebu yn Llantrisant, lle yr oeddwn yn llafaru am yr iachawdwriaeth gyffredin, fel y geilw Judas hi,) a ddywedodd wrth y bobl nad efengyl oedd hyn. Pa beth yw, ynte, yr wyf yn gofyn? Wel, ebe yntef, yr efengyl yw yr hyn sydd gynnwysedig yn y pedwar Efengylwr. Yna, ebe finau, 'Ein tad yr hwn wyt yn y nefoedd,' sydd efengyl? Nage, gweddi yw hyna; ond yr efengyl sydd i'w phregethu, ebe fe, yw, 'Oblegid cyfyng yw y porth, a chul yw y ffordd sydd yn arwain i'r bywyd, ac ychydig yw y rhai sydd yn ei chael hi;' oblegid felly y mae wedi ei ysgrifenu yn yr efengyl yn ol St. Mathew, vii. 14. Yn sicr, nid oedd hyn yn efengyl a newydd da i'r holl bobl; mai cyn lleied fuasent yn cael eu hachub. Etto, ebe y dyn da, dyma ran arall o'r efengyl, 'Ond cynnifer a'i derbyniasant ef, efe a roddes iddynt allu i fod yn feibion i Dduw, sef i'r sawl a gredent yn ei enw ef;' oblegid felly y mae yn ysgrifenedig yn yr efengyl yn ol Ioan i. 14, eb efe; fel pe byddai pob peth yn efengyl sydd wedi ei ysgrifenu yn yr efengylau; tra yr un pryd, nad oedd Crist ond gweinidog yr enwaediad, neu athraw deddfol. Eithr yr oedd y dyn yn meddwl nad oedd dim efengyl ond yr hyn a ysgrifenwyd yn efengylau Mathew, Marc, Luc, a Ioan. Dynion yw y rhai hyn, fel y gwyddoch, ynt yn weinidogion yr efengyl; y rhai hyn ydynt y pregethwyr teithiol yn Nghymru; y rhai na wyddant fwy am yr efengyl nâ hyna, neu yr hyn sydd wedi ei ysgrifenu yn yr epistolau; tra nad yw y rhai hyn yr efengyl a bregethwyd gan yr Apostolion i'r byd, ond yn briodol i'r eglwysi at y rhai yr ysgrifenwyd y llythyrau hyny."

Dyma hanes fer o'r ddadl hon. Y mae yn cynnwys fod Mr. Erbury, fel gwr o ddysgeidiaeth brif-athrofaol, ac urddau esgobaethol, yn edrych yn isel ar bregethwyr teithiol y tymhor. Hefyd y mae yn rhoddi cipolwg ar

* "A call to the Churches; or a Packet of Letters to the Pastors of Wales, presented to the Baptized Churches there. With a postscript of a Welsh Dispute." The Test. p. 219.

yr ysbrydoliaeth yr oedd ef a Morgan Llwyd, ac ereill, yn ei phregethu. Er ei fod yn dra 'chywir, ac o flaen pregethwyr yr oes o barth i anlladrwydd eglwys a gwladwriaeth, ac yn condemnio yn iachus, gydag anathemau taranllyd, y gweinidogion am gymeryd taliad y llywodraeth am bregethu; eto, cyfeiliornus iawn oedd am athrawiaethau ac ordinhadau yr efengyl.

Ond y mae yr hanesyn hwn yn werthfawr iawn, yn 1af, Oblegid y mae yn datguddio gryn lawer am D. Dafis, gyda golwg ar gyhuddiad y Dr. Walker. Nis gallasai Mr. E. fod heb adnabod ei wrthwynebwr yn dda o ran ei gymmeriad; a phe buasai wedi bradychu ei hun o barth degwm Celligaer, ni fuasai Erbury yn ei arbed. Ni arbedodd Mr. Henry Nichol yn yr unrhyw amgylchiad, ond annerchai ef "Gweinidog yr eglwys Anymddibynol, a pherson y plwyf; *ergo*, nid un o'r goreu, er yn weinidog o ffurfiad newydd, ac nid un o'r hen Seintiau Cymreig, y rhai a ofalent am dduwioldeb ac nid budr-elw." Ond yn lle cyhuddo Mr. Dafis, y mae yn ei alw yn barchus "y dyn da." 2il. Y mae yn rhoddi yr unig ddarn o hanes a feddwn am olygiadau athrawiaethol gweinidogion y Bedyddwyr y dyddiau hyn. Gwelir yn amlwg mai Calfiniaeth oedd gan D. Dafis yn wynebu ar Arminiaeth Mr. Erbury; a thrwy yr agoriad bychan hwn, yr ydym yn canfod mai nid annhebyg mae yr un yw athrawiaeth yr enwad wedi bod o'i ffurfiad hyd yn bresennol. 3ydd. Y mae yn amlwg fod Mr. Dafis yn ddyn o wroldeb arbenig, ac o ymddiried yn ei ddysgeidiaeth ei hun, i wynebu ar berson o ddoniau a gwybodaeth Mr. E., yr hwn oedd wedi sefyll mewn dadleuon yn mhrif ddinasoedd Lloegr; ac yn wir y mae rhyw olwg debyg i wr wedi ei orchfygu arno pan yn ffoi yn frysiog allan o'r eglwys, yn ol ei ddesgrifiad ei hun, tra yr oedd ei wrthwynebydd yn sefyll yn hyf ar esgynlawr yr ymdrechfa.

Yr oedd Mr. Dafis yn sefyll yn uchel yn ngolwg ei frodyr o ran ei wybodaeth Ysgrythyrol, oblegid yn Nghymmanfa Aberafan, Mawrth 1af, 1654, cafodd ei enwi, yn mhlith ereill, i ysgrifenu atebiad i'r gofyniad pwysfawr, "Pa beth yw dyledswydd pob swyddog ac aelod yn yr eglwys?" yr hyn a atebodd yn y gymmanfa nesaf. Yr oedd ei ddoniau hefyd yn dra chymmeradwy, oblegid yn yr un cyfarfod, "yn ol cais y brodyr yn y Fenni, dymun-

wyd ar yr eglwys yn Llantrisant ddanfon yn fynych y brawd D. Dafis, neu y brawd Thomas John, i Langybi a'i amgylchoedd."

Tua phedair blynedd y gweinidogaethodd yn yr eglwys hon, canys ymadawodd Awst 30ain, 1654, (gwel tud. 25,) i fyned i bregethu "lle y byddai yr Arglwydd yn ei alw." Pa faint o wasanaeth i'r byd a fu wedi hyn, nis gwyddom. Y mae y Dr. Calamy, hanesydd eglwysig arall, yn ei enwi ef yn mhlith y pregethwyr a drowyd allan o'r eglwysi tua'r flwyddyn1660-1, am wrthod cydymffurfio; ac y mae yr hanesydd hwn yn gystal a dweyd mai anwiredd noeth a ddywedodd y Dr. Walker am dano. Pa faint fu dyoddefiadau y brawd cydwybodol hwn yn yr erledigaeth ddyfodol, a pha cyhyd y bu fyw wedi yr amser hwn i ddwyn croes ei Arglwydd, na pha le y claddwyd ef, nid oes genym hanes.

II. MR. THOMAS JOHN.—Barnwn fod y brawd hwn yma yn ffurfiad yr eglwys yn Nghelligaer. Yr oedd dyn o'r enw Wm. John yn byw yn Nghraig-yr-Allt, a thybiai Mr. J. Thomas ei fod yn frawd iddo. Gellir casglu nad oedd efe yn pregethu yn 1651, oblegid yr oedd eisiau i ryw un ddyfod o'r Gelli, i gyfnewid a Mr. D. Dafis, yr amser hwnw. Hydref 17eg, 1652, gwelir ei enw ef yn arwyddo llythyr Llantrisant at yr eglwysi, (tud. 22,) lle y mae yn nesaf at Dafid Dafis. Mewn dwy o gymmanfaoedd y Fenni, y mae efe yn llawnodi y penderfyniadau fel henuriad neu genad yr eglwys. Gwelir ef hefyd yn cael ei wahodd, fel gwr llawn mor gymmeradwy a D. Dafis, gan eglwys y Fenni i fyned i Langybi, &c., i bregethu yn fynych yno. Bu farw o gylch 1675, wedi bod felly yn aelod o'r eglwys am 25 mlynedd. Nid oes son am y brawd hwn gan yr haneswyr eglwysig a nodasom, gan hyny yr ydym yn penderfynu na fu yn derbyn tâl y lywodraeth am bregethu ar un amser. Y mae hyn yn dangos rhagwelediad rhagorol ynddo, ac yn ei osod ar dir Ymneillduaeth egwyddorol, fel un oedd yn canfod halogrwydd y cyssylltiad. Digon tebyg i hyn ei gadw rhag peth dyoddefaint yn ol llaw, ac iddo fod nid yn unig yn alluog i weini Gair y Bywyd i'r eglwys, ond i gysuro y rhai oeddent yn dyoddef mor drwm oddiwrth yr erledigaeth bwysig ag oedd yn ei gwres drwy y pumtheg mlynedd diweddaf o'i fywyd. Tybir mai yn nosparth

uchaf yr eglwys yr oedd efe yn llafurio fwyaf. Credwn mai gwr a fu o ddefnydd mawr i'r achos oedd Tomos Shon. Nis gwyddom pa le y claddwyd ef.

O'r flwyddyn 1675, sef o farwolaeth y gweinidog uchod, bu yr eglwys heb un bugail sefydledig, ond cadwyd y Sabbathau cymundeb ar dro gan Mr. Lewis Thomas a Mr. Robert Morgan, (tud. 35.) Dyoddefodd y blaenaf yn ddirfawr yn amser yr erledigaeth, a llafuriodd y "tu hwnt i'w frodyr." Y gwr mwyaf ei enwogrwydd a'i ddefnyddioldeb yn mhlith y Bedyddwyr ydoedd. Bu Mr. Robert Morgan hefyd yn ail iddo. Ar ol gorpheniad llafur y ffyddloniaid hyn, bu yr eglwys yn ddigon dylanwadol a ffortunus i ddenu sylw a chael gwasanaeth misol un o brif ddynion y tymhor, sef Mr. John Jenkins, gweinidog priodol Rhydwilym. Rhyfedd meddwl fod y brawd hwn yn fisol, yn teithio, ar ei draed digon tebyg, 200 o filldiroedd i ddyfod i dori bara i Graig-yr-Allt. Drwg genym fod ein terfynau wedi cyfyngu i'r fath raddau yn y llyfr hwn, fel nas gallwn gyflawni yr addewid mewn rhan arall o hono, o barth hanes y personau rhagorol uchod, i'r graddau y dymunem.

III. Mr. MORGAN GRIFFITHS.—Enw ei dad oedd John Griffiths, ac yr oedd yn byw mewn tyddyn o'r enw Rhuddbac, yn ymyl mynydd-dir Preselau, yn swydd Benfro. Cafodd ei dderbyn yn aelod o eglwys Rhydwilym yn amser ei sylfaenydd, a thad y Bedyddwyr yn y sir hòno, Mr. William Jones. Dywed y Dr. Richards mai Morgan oedd y cyntaf o'r teulu a ymneillduodd, ac yr oedd y Dr. yn berthynas bellenig iddo. Ganwyd ef yn ystod y fl. 1669; felly yn ystod ei ieuengctyd cafodd wybod llawer am greulonderau yr erledigaeth, os nid bod yn llygad-dyst o honynt; felly cenedlwyd ef fel crefyddwr yn nghanol oerni rhewllyd y gauaf du, ac anadlodd wyntoedd difaol gwg a llid Iago a Bess; ond yn fuan newidiodd yr awyrgylch, a chafodd ei feithrin ar ffrwythau adfywiol rhyddid, a chynneswyd ef â chariad meithringar y mamogiaid oeddent wedi dàl drwy yr holl dywydd. Tybiwn y gallasai yr amgylchiadau hyn fod wedi dwyn eu hargraff arno drwy ei fywyd dyfodol. Daeth i eglwys Hengoed pan yn cyfarfod yn Nghraig-yr-Allt, yn y fl. 1700. (Edrych tud. 39.) Yr oedd yn arferiad gan yr eglwysi, cyn ac yn hir wedi yr amser hyn, i roddi hir brawf pan yn dewis gweini-

idog; ac felly y bu yn achos Morgan Gryffydd. Ni ystyrid ei fod wedi llwyr sefydlu ynddi fe allai am ddwy flynedd wedi ei ymweliad cyntaf. Trwy gymmeradwyaeth ei weinidog, Mr. John Jenkins, y daeth gyntaf yma, pan yr oedd tua 30 oed. Er nad oedd ond enwau y gweinidogion henaf yn arfer bod wrth lythyrau y gymmanfa y pryd hwn, yr oedd Morgan Griffiths yn arwyddo llythyr 1704 fel gweinidog Hengoed. Dyn ydoedd o dueddfryd caredig a mwynaidd, o ymddygiad boneddigaidd ac ennillgar, a'i holl fuchedd yn gyfryw ag oedd yn gweddu i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist. Yr oedd nid yn unig yn gyfarwydd â'i iaith ei hun, ond hefyd yn alluog yn y Saesnaeg, a phregethodd gryn dipyn yn Lloegr, yn enwedig yn Nghaerodor, lle yr oeddent yn dra hoff o'i glywed. Y desgrifiad a rydd Mr. Josh. Thomas o hono fel pregethwr yw, "Fod ei bregethau yn gyffredin yn fyr, yn drefnus, yn ddeallus, ac yn gynhwysfawr iawn, etto yn felus ac yn dderbyniol, yn eglur a hawdd eu cofio; yr oedd ei ymadrodd yn serchog a thoddedig, ac yn ennillgar iawn." Onid yw y fath ddesgrifiad yn ddigonol i beri i ni awyddu am glywed ei lais?

Yn ei amser ef y bu yr eglwys yn fwyaf eang ei therfynau, ac fe allai fwyaf lluosog ei haelodau. Yn ol y cyfrif a ddanfonwyd i Lundain i'r Dr. John Evans, yn y flwyddyn 1715, gosodir nifer y gwrandawyr yn cyfarfod dan weinidogaeth "Morgan Griffith," yn 1000, ac yn cynnwys "2 o foneddigion, 52 o berchenogion tiroedd (*yeomen*), 17 o grefftwyr, 115 o dyddynwyr, a 210 o law-weithwyr; gan y rhai yr oedd 54 o bleidleisiau dros siroedd Mynwy a Morganwg, a 130 dros y bwrdeisdrefi." * Yn Hengoed a'r Hendre y cyfarfyddent.

Efe a adeiladodd addoldy cyntaf yr eglwys hon, yr hwn orchwyl, yn yr amser hwnw, oedd yn wir bwysig. Gwelir ddarlun bychan o'r tŷ hwnw yn nechreu y llyfr hwn.

Yn y flwyddyn 1718 yr oedd Mr. Griffiths yn derbyn peth o'i gynnaliaeth o'r Drysorfa yn Llundain; yr oeddent yn cyfranu yn ol defnyddioldeb y pregethwyr, ac yr ydym yn cael ei enw ef yn y rhes uchaf; a'r cymmeriad a roddir iddo yw, "Gwr enwog a defnyddiol, yn cael ei fawr arddel: gwasanaethwr da i Iesu Grist; gwr ymdrechgar iawn."

* *Hist.* Prot. Noncon. in Wales, p. 290.

Pregethodd yn y cymmanfaoedd canlynol:—Llanwenarth, 1707; Llanelli, 1718; ac yn olaf yn Nghastellnewydd-Emlyn, 1737: yma, oddiwrth Act. xxvi, 28, yr hwn yw yr unig destun o'i eiddo sydd ar gael.

Bu yn gwasanaethu yma 37, ac yn y weinidogaeth, feddyliem, tuag 50 o flyneddoedd. Llafuriodd yn ddiflino, yn ffyddlon, ac yn llwyddiannus, ac felly anrhydeddodd yn fawr yr Hwn o'i fawr drugaredd a'i galwodd ac a'i daliodd hyd y diwedd.

Y mae ei feddrod yn agos iawn i'r man yr oedd drws y tŷ cyfarfod a adeiladodd; ac ar gareg ei fedd y mae yr argraff ganlynol:—

"Here lieth the body of MORGAN GRIFFITHS, who hath been for 37 years a laborious and successful pastor of the Church of Christ here. He departed this life the 11th day of June, 1738, aged 69.

"From these remains the soul hath fled above,
Who was the sinners' light, the godly's love.
All sorts he did admonish, and was kind;
He many winn'd, and taught with humble mind."

Yr unig fan y gwyddom iddo breswylio yw yr Argoed, plwyf Bedwellty. Yr oedd iddo blant. Ei fab John a fu yn preswlio yn Mhontypwl, ac yn arolygwr galluog ar weithiau haiarn a *japan* y lle hwnw, dan Mr. Hanbury. Yr oedd yn ddyn crefyddol, ond nid yn pregethu. John Griffiths, Ysw., o Benywenallt, sîr Benfro, oedd fab y John uchod.

IV. Mr. GRIFFITH JONES.—Mab oedd efe i Mr. Morgan Jones, un o weinidogion cyntefig Abertawe,—gwr rhagorol. Bu yn weinidog yn Mhenyfai, ac yn y fl. 1749 symudodd i Hengoed. (Gwel tud. 45.) Yr oedd Arminiaeth cyn hyn wedi gwneyd yr eglwys yn ddwy blaid, a math o weinidog y cymmod oedd Mr. Jones, rhywfodd yn medru boddloni y ddwy ochr, er mai Calfiniad proffesedig oedd efe. Bu ef yn llwyddiannus a thra chysurus yma am tua deg mlynedd, yna symudodd i America. Mab iddo ef oedd y Morgan Jones, LL.D., o Hammersmith, Llundain. Gwr o dymher hynod arafaidd, ac o ddoniau poblogaidd iawn oedd Mr. Griffith Jones; bu ddefnyddiol wedi ei ymadawiad i America, lle y gorphenodd ei yrfa mewn gorfoledd yn y fl. 1754.

V. Mr. LEWIS JAMES; a VI. Mr. WATKIN EDWARDS.—Brodorion oedd y ddau weinidog hyn o'r ardal.

Mab ydoedd y blaenaf i James Lewis,* o blwyf Eglwysilan, a pherchen tir Cefn Hengoed. Mab ydoedd yr olaf i Evan Edwards, o Lanwonno.

Yr oedd Lewis James wedi ei godi yn gysurus o ran amgylchiadau bydol, a gallasai fod wedi cael dysgeidiaeth helaeth, er nad oes hanes am hyny; o'r hyn lleiaf, yr oedd ei sefyllfa, fel rhydd-ddaliwr tir, yn ei osod uwchlaw gwasgfeyon y byd. Am Mr. Watkin Edwards, neu, fel y gelwid ef hyd ei fedd yn gyffredin, Watkin Evan, tyddynwr, mewn sefyllfa gyffredin oedd efe. Tybiwn mai sefyllfa fydol Lewis James oedd yn ei osod yn brif weinidog yr eglwys, i'r hyn yr oedd hunan-ymwadiad Watkin Edwards yn rhoddi ffordd yn ewyllysgar; eithr o ran galluoedd a defnyddioldeb, ein barn yw mai yr olaf oedd yn blaenori, fe allai, o lawer. Barnu yr ydym mai dyma dymhor mwyaf dilafur yr eglwys.

Ar ei ddychweliad o'r Twyngwyn, cafodd ei wneud yn gyflawn gyd-weinidog â Mr. L. James. Claddwyd Mr. W. Edwards, y mae yn debyg, gyda'i dad wrth dy cwrdd yCymmer. Gorphenodd ei yrfa ddefnyddiol yn Ebrill, 1794, o gylch 72 oed.

Mr. L. James a fu farw Medi 10fed, 1807, yn 89 oed. Y mae ei feddrod ef a'i dad yn monwent Hengoed.

VII. Mr. JAMES PERROTT.—Aelod oedd Mr. Perrott o hen eglwys Olchon. Tua deg mlynedd y bu yn weinidog yr eglwys hon. Yr oedd yn ddyn o ddysgeidiaeth a gwybodaeth helaeth, ac yn medru pregethu Saesnaeg er adeiladaeth. Y mae ei feddrod ef yn monwent addoldy Heol Siarls, Casnewydd-ar-Wysg. Y mae merch i Mr. Perrott yn aelod yn bresennol yn yr eglwys, sef Elisabeth Harris, Gellihaf Isaf.

VIII. JOHN JENKINS, D.D.—Gan fod hanes y gweinidog hwn yn gyflawn wedi ei argraffu, nid oes galwad am ychwanegu llawer o berthynas iddo yma, dim ond engraifft, yn 1af, o'i boblogrwydd cyffredinol. Pan yr oedd ei gyhoeddiad i fod yn pregethu ar nos Sabbath yn Llanelli, Caer., yn y fl. 1833, rhoddodd y Methodistiaid a'r Anymddibynwyr eu cyfarfodydd i fynu i ddyfod i'w wrando ef, fel yr oedd y gynnulleidfa yn gyffelyb i gymmanfa. 2il, Effeithiolrwydd ei bregethu. Mr. D. Grif-

* Yn ol yr hen ddull o enwi, cymmerai y mab enw cyntaf y tad yn enw olaf.

fiths, Cwmafon, a adrodda am gyfarfod yn Nghaersalem, Dowlais, lle yr oedd y dorf dan ei weinidogaeth wedi ei boddi mewn deigrau. Ymhen diwrnod neu ddau, cyfarfyddai y diweddar Mr. D. Saunders, Merthyr, ag ef, pan y sylwodd, "Nid gwiw i chwi feddwl myned i bregethu i Ddowlais yn fuan eto, feddyliwn, canys nid tebyg y gall y fath effeithiau gymmeryd lle! Gwyddoch, gwyddoch, gwyddoch, nad wyf fi yn arfer wylo dan bregeth, ond methais i ddàl y dydd o'r blaen." 3ydd. Ei lafur pregethiadol. Yn y fl. 1833 yr ydym yn ei gael yn pregethu deuddeg pregeth mewn pump niwrnod olynol, ac yn ystod y flwyddyn 334 o bregethau. Digon tebyg nas gallwn roddi iddo lai nâ 200 o bregethau bob blwyddyn am 50 mlynedd, yr hyn a wna 10,000. 4ydd. Dengarwch ei bregethu gartref. Cof genym droiau weled personau yn dyfod i'r addoldy wedi dechreu y bregeth, ac yn eu hawydd i wybod beth oedd ganddo mewn llaw, yn sefyll cyn cyrhaedd eu heisteddleoedd, ac yn anghofio myned ymhellach nes blino sefyll. 5ed. Ymdrechodd yn fawr i newid y dull o gladdu, sef gosod y corff yn y bedd *cyn* i'r gynnulleidfa fyned i'r addoldy; ond methodd lwyddo yn gyflawn yn hyny. Ar ei farwolaeth cyhoeddwyd *card* goffadwriaethol am dano, fel isod, gan Mr. William Owen, Caerdydd y pryd hwnw, ond yn bresennol gweinidog y Felinganol, sîr Benfro:

"Y Parch. JOHN JENKINS, D.D., HENGOED,

A ANED 1779,

Yn Nghilfynydd, plwyf Llangynidr, sîr Frycheiniog. Bedyddiwyd ef gan y Parch. James Lewis, Llanwenarth, 1795. Dechreuodd bregethu yn Llanwenarth, pan yn 20 ml. oed.

URDDWYD EF I'R WEINIDOGAETH

Yn Llangynidr, Mai, 1808. Sefydlodd yn Hengoed, 1808. Cyhoeddodd y "Palas Arian," 1810. Dechreuodd gyhoeddi yr "Esponiad ar y Bibl," 1819. Gorphenodd ef, 1831.

GRADDWYD EF YN ATHRAW DUWINYDDOL

Gan Urddysgol Louisburg, America, 1852.

BU FARW

Mehefin 5, 1853, yn 73 oed. Claddwyd ef wrth Hengoed, Mehefin 10fed, 1853. Bu yn gweinidogaethu 54 mlynedd."

IX. Mr. DANIEL REES.—Aelod o Gastellnedd oedd y dyn ieuangc hwn. Bu yn gweinidogaethu yma am ddwy flynedd a naw mis gyda gradd o lwyddiant, sef tri mis wedi marwolaeth yr hen weinidog.

X. Mr. RICHARD WILLIAMS.—Dyma weinidog presennol yr eglwys. Mab ydyw efe i Mr. John ac Ann Williams, Maerdy Uchaf, plwyf Gwyddelwern, sîr Feirionydd, ac aelod gwreiddiol o eglwys Pandy'r Capel, yn yr un sîr. Sefydlodd yma Ionawr, 1855. Y mae wedi bod yn arbenig o gysurus a llwyddiannus yma hyd heddyw. Priododd Miss Margaret Rees, o Gefn Hengoed, yr hon sydd ferch nai fab brawd i'r enwog Morgan John Rees.

## Y PREGETHWYR A GYFODASANT YN YR EGLWYS.

1. Mr. Thomas Joseph.—Yma yr ydym yn cael yr hanes gyntaf am y gwr hwn, ac felly yr ydym yn ei farnu yn aelod cyntefig o'r eglwys. Bu yn cydlafurio â D. Dafis a T. Jones yma. Cafodd ei farnu yn addas i gael ei osod yn eglwys plwyf Llangeinwr, o'r hon y cafodd ei droi allan am beidio cydymffurfio, yn y flwyddyn 1661-2. Y mae hyn yn ei brofi yn ddyn cydwybodol; a pha faint fu ei ddyoddefaint wedi hyny yn amser yr erledigaeth, neu a ffoodd efe, fel llawer, i America, nid oes genym ddim hanes.

2. Mr. Howel Thomas.—Yr ydym yn barnu y brawd hwn eto yn aelod cyntefig o'r eglwys. Cafodd ei gymmeradwyo fel ei gydlafurwr i lanw swydd offeiriad, ond yn ol trefn ei gydwybod ei hun, yn eglwys Glyncorwg; a chafodd yntef ei ddystewi yr un modd, a'r un pryd, a'i gyfaill uchod, yr hyn a rydd iddo yr unrhyw gymmeriad cydwybodol. Nid oes genym un hanes am dano wedi y flwyddyn 1662. Yr oedd y ddau uchod yn bregethwyr cymmeradwy yn Llantrisant yn 1654.

3. Mr. William Dafis.—Brodor oedd efe o ardal Castellnedd; aeth o Hengoed i America: dychwelodd yn ol at ei fam eglwys, ac aeth oddiyma yn weinidog i Lantrisant, sef Llangwm, ar ei hail sefydliad, lle y bu am rai blyneddoedd. Aeth wedi hyny i Benyfai, ac oddiyno drachefn i America, lle y bu yn ddefnyddiol iawn; a bu farw yno yn y flwyddyn 1768, yn 73 oed. Yr oedd ei enw wrth lythyr cymmanfa 1725.

4. Mr. David Rees.—(Gwel tud. 39.) Tybir iddo ef gael ei eni tua'r flwyddyn 1683, ac iddo gael rhan o'i ddysgeidiaeth dan yr enwog Samuel Jones, M.A. Brynllywarch, yn ei ieuengctyd. Tybir hefyd mai blaguryn a darddodd yn nechreuad gweinidogaeth Mr. M. Griffith oedd efe. Aeth clod ei alluoedd, ei dduwioldeb, a'i ddoniau yn fuan ar led, a chafodd heb fod yn hir alwad i ymweled â Llundain, lle y gafaelwyd ynddo gydag awyddfryd mawr. Cafodd alwad unfrydol i sefydlu yn weinidog yn eglwys y *Limehouse*. Y Dr. Joseph Stennett a Mr. John Piggott a fuont a'u dwylaw ar ei ben ar ei sefydliad yno yn y flwyddyn 1709. Gweinidogaethodd yn llwyddiannus

ac mewn parch neillduol yno am yn agos y deugain mlynedd dyfodol. Gorphenodd ei yrfa, wedi dyoddef yn fawr yn ei gorph, yn y flwyddyn 1748, yn 65 mlwydd oed. Myfyriwr dwys oedd efe, a chyrhaeddodd radd uchel o ddysgeidiaeth. Gweinidog ffyddlon ac yn caru ei waith oedd, canys o herwydd cael ei flino gan y *gout* mor greulon, fel y methai gerdded, yr oedd ei gariad at y weinidogaeth yn gyfryw, fel y mynai ei gludo i'r pwlpud ar foreu y Sabbath, a dygid ei luniaeth iddo, ac yno yr arosai nes gorphen gwaith y dydd! Y mae genym o'n blaen, gyfrol hardd o waith Mr. Dafid Rees, dan yr enw, "*Infant Baptism no Institution of Christ;*" mewn atebiad i lyfr Mr. Fowler Walker, a gwaith y Dr. Thomas Ridley. Ysgrifenodd a chyhoeddodd yr atebiad cyntaf yn Nghymraeg. Nid oedd Mr. Rees wedi anghofio ei iaith, ei frodyr yn Hengoed, na'u genedl. Bu yn ymweled â'i fam eglwys yn mlynedddoedd diweddaf Mr. Morgan Griffith, ac yn llonyddu dadl Arminiaeth yn eu plith. Bu o wasanaeth i'r Cymru yn Llundain lawer tro, yn gystal ag i weinidogion tlodion Cymru. (Y mae y gyfrol o'i waith ef a feddwn, ag enw "James Davies, 1734," arni. Tybiwn mai y gwr o Benygareg oedd hwn, a'i fod, fel cyfaill adnabyddus i Mr. Rees, wedi prynu y llyfr newydd mor fuan ag y daeth allan o'r wasg.) Mor gonewerus yr ysgrifenodd Mr. Rees, fel na roddwyd atebiad i'w lyfr byth, a roddodd ben ar y ddadl o gwbl am dymhor maith. Gellir canfod yn eglur yr olwg uchel oedd ar enw a barn Mr. Rees yn Nghymru, wrth y ffaith ganlynol: ni osodwyd un erthygl ar "osodiad dwylaw" yn Nghyffes Ffydd Llundain, 1689; ond at y cyfieithad Cymreig, 1721, ychwanegwyd erthygl ar y pen hwnw o waith Mr. D. Rees, yr hwn a'i hysgrifenodd yn enw yr eglwys yn y *Limehouse.* Yno rhoddir yn rheswm dros hyny, "nad oes neb (hyd y gwyddom ni) yn ei ammeu yn Nghymru," sef gosodiad dwylaw ar y bedyddiedig. Y sawl a fyno weled mwy am Mr. Rees, darllened sylwadau y Dr. Richards arno, yn y "*Cam. British Biog.*" tud. 201; a "Hanes y Bed. 1784," tud. 198.

5. Mr. Thomas Williams.—Gwr tra galluog a aeth oddiyma yn weinidog i Lantrisant, Monwy, ar ol ymadawiad Mr. Wm. Dafis; ond troodd at y Crynwyr tua 1742, pryd yr ymwrthodwyd ag ef, ac y cyhoeddodd yntef lyfryn i amddiffyn ei olygiadau newyddion. Golygir na chafwyd dim ond ei olygiadau yn ei erbyn.

6. Mr. Evan Edwards.—Dechreuodd grefydda yn Nghwmyglo, gerllaw Merthyr Tydfil, gyda'r Presbiteriaid; ond yn mhen tua 4 blynedd argyhoeddwyd ef o fedydd y crediniol. Daeth i Hengoed i gael ei fedyddio, a daeth dau o'i gynfrodyr i'w weled yn derbyn yr ordinhad; ac mor anwyl yr oedd ganddynt, fel yr oeddent yn wylo ar ei ol. Gwr cariadus, deallus, defnyddiol, hunan-ymwadol, yn cael ei garu yn fawr, llawn o garedigrwydd, haelioni, ac a fu yn ddefnyddiol flyneddoedd maith, er heb ei ordeinio, oedd efe. Bu farw yn 1771, yn 82 oed. Tad Watkin Edwards, un o weinidogogion yr eglwys, oedd efe. Claddwyd ef wrth dŷ cwrdd y Cymmer.

7. Mr. Charles Winter.—Mab ydoedd y gwr hwn i Francis Winter, tyddynwr yn mhlwyf Bedwellty. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1700. Yr oedd ei dad yn gysurus yn y byd, a, chwedi rhoddi dysgeidiaeth dda iddo ef, a'i gosododd i'w ddwyn i fynu yn feddyg yn y Cas'newydd. Bu yn ddyn ieuangc gwylltofus ac ofer. Cafodd ei

fedyddio pan o gylch 24 mlwydd oed. Bu ei dad yn ddrwg nwydus am hyn; a chyn ei fedyddio, bygythiodd Morgan Griffith a rhyw ddialedd os buasai yn ei dderbyn i Hengoed. Gyda bwriad at y weinidogaeth, i'r hyn y barnai yr eglwys fod ganddo ddoniau, cymmeradwyid ef i fyned i dderbyn dysgeidiaeth dan Mr. Foskett i Gaerodor, ond yn anffortunus, dewisodd fyned i'r athrofa, y pryd hwn Arminaidd, yn Nghaerfyrddin. Daeth Mr. Winter yn ol oddiyno yn llawn o'r athrawiaeth newydd. Bu yn pregethu yn Hengoed ar ol hyn am fwy nag 20 mlynedd, ac yn y flwyddyn 1750 diaelodwyd ef a'i bleidwyr. Ond gwr rhagorol o ran ei gymmeriad oedd Mr. Winter, yn gystal a dyn o ddoniau a gwybodaeth helaeth, ac yn cael ei fawr garu fel y cyfryw. (t. 66.) Pwy bynag sydd am weled hanes rhy bleidgar, a chanmoliaeth efallai ormodol iddo, darllened "*Cam. Brit. Biog.*" tud. 268. Bu farw Ebrill, 1773, yn 73 oed; ac y mae ei feddrod yn eglwys Bedwellty.

8. Y Dr. Thomas Llewelyn.—Yr oedd teulu o'r enw Llewelyn yn preswylio tuag Ystrad-dofodwg. Y cyntaf y mae hanes am dano yw Thomas Llewelyn, o Lyn-eithinog, Rhegoes. Yr oedd yn fardd enwog, ac "wrth fraint a defod." Dywedir iddo gyfieithu y Bibl o'r Saesnaeg i'r Gymraeg tuag 1540, a bu yn bregethwr trwyddedig, *(licensed)*. Tybir mai efe oedd tad crefyddwyr Cwmyglo; ac yn ddiamheuol, yr oedd yn un o ddiwygwyr protestanaidd Cymru. Y nesaf o'r teulu, tybiwn, yw Evan Llewelyn, yr hwn oedd yn un o weinidogion cyntaf eglwys y Bedyddwyr yn Ilston, ond oedd yn aelod cyntefig o'r eglwys hon yn Llanharan. Yr oedd yma yn 1651, ac yr ydym yn cael ei hanes saith mlynedd yn nes yn mlaen, a dyna y cwbl o gyfrif sydd genym i'w roddi am dano. Enwir drachefn ddyn o'r enw Llewelyn ap Evan yn eglwys Ilston, ac yr ydym yn cael ein tueddu i feddwl mai mab Evan oedd hwn. Nid oes hanes am y teulu wedi hyn nes eu cael yn preswylio yn Mhenallta Isaf, plwyf Celligaer. Hawdd oedd i dad y *Doctor* gyrhaedd, o ran oedran, i fod yn fab i Llewelyn ap Evan a nodasom uchod. Yr oedd y Jenkin Llewelyn a'r Dr. yn fyw yn amser Josh. Thomas, ac felly gallwn ymddibynu ar eu hanes. Nid yw eu tad yn cael ei enwi gan Mr. Thomas, ond Evan oedd ei enw. Yr oedd yn byw yn y lle a nodasom uchod pan anwyd Thomas. Y mae Penallta Isaf yn agos iawn i Hengoed. Yr oedd iddo amryw o feibion a merched. Dafydd oedd yr olaf a fu byw yn Mhenallta Isaf. Yr oedd amryw o honynt yn aelodau yn Hengoed gyda'u tad a'u mham. Bu cyfarfodydd yn cael eu cadw yn nhŷ Siencin yn Eglwysilan hyd ei farwolaeth, tua y flwyddyn 1775, pryd yr oedd yn hen iawn, fe allai yn 90 oed. Y mae bedrodd gwraig iddo yn Hengoed, wedi ei chladdu yn 1749, yn 45 oed. Teulu crefyddol enwog iawn fuont.

Thomas Llewelyn oedd fab ieuangaf y teulu hwn, a ganwyd ef yn y flwyddyn 1724 neu 5. Cafodd ychydig ysgol artrefol, y mae yn debyg; a chafodd y rhagorfraint o gael ei dueddu at grefydd, tybir, pan tuag un ar bumtheg oed. Datguddiwyd yn fuan fod ynddo ddoniau a thuedd at y weinidogaeth; a chan fod yn Mhontypwl ysgol yn cael ei dwyn ymlaen gan ddyn galluog o'r enw John Mathews, yn yr hon yr oedd dynion ieuaingc yn cael eu parotoi mewn dysgeidiaeth, danfonwyd Thomas yno. Yn mhlith ei gymdeithion yma yr oedd Morgan Jones, mab Griffith Jones, cyn weinidog Hen-

goed, yr hwn wedi hyny a gafodd y titl o Ll.D., pan yn weinidog yn Hamersmith, Llundain. Dywedir i Mathews roddi dysgeidiaeth i ddim llai nâ 40 o bregethwyr Cymru yn ei amser, ac mai Mr. John Griffith, mab Morgan Griffiths, fu yn dadmaeth i'r sefydliad hwn.* Yr oedd Thomas Llewelyn yn yr ysgol hon yn y flwyddyn 1741. Aeth y son am ei gynnydd mewn gwybodaeth yn fuan ar led; symudodd i Gaerodor dan ddysgeidiaeth Mr. Foskett; ac wedi hyny mewn amser dan ddysgeidiaeth y *Doctoriaid* Walker, Murriatt, a Jennings, a than ymgeledd y Dr. Joseph Stennett, ac arolygiaeth Mr. Dafid Rees, yr hwn fu frawdol tuag ato. Cyrhaeddodd radd mor helaeth o ddysgeidiaeth, fel y dywedai y dysgedigion penaf am dano nad oedd *isradd i'r uwchaf ymhlith yr holl Ymneilldüwyr.* Yn flaenaf, rhoddwyd iddo M.A., a chwedi hyny Ll.D. gan brif-ysgol Aberdeen, yn yr Alban, heb ei fod ef yn gwybod dim nes eu derbyn. Priododd foneddiges gyfoethog iawn, yr hyn a'i gwnaeth yn annibynol ar ereill. Nid oedd ei ddoniau pregethu yn boblogaidd, ac nid oedd ganddo ef ei hun orymddiried ynddynt, felly ni chymmerai ofal unrhyw eglwys, ond pregethai yn achlysurol lle yr oedd angen. Ei ragorion oeddent yn fawr iawn, sef yn 1. Ei haelioni. Hael ydoedd ar ei logell, ond nid mwy felly nag ar ei alluoedd personol. Dysgodd lawer o bregethwyr ieuaingc ar ei draul ei hun; a chyda hyny, cyfodwyd trysorfa i alluogi ereill i fyned ato i gael dysgeidiaeth rhad. 2il. Caru ei genedl yn weithredol. Bu lafurus iawn i gael Gair Duw iddynt, gan ymdrechu ei daenu drwy y wlad. Y mae hanes helaeth a gwerthfawr am ei ymdrechion clodwiw ar y pen hwn. 3ydd. Efe a ffurfiodd genhadiaeth gyntaf y Bedyddwyr i Ogledd Cymru. (Gwel tud. 87.) 4ydd. Ei lafur awdurol. Efe a ysgrifenodd hanes helaeth am gyfieithiad y Bibl i'r Gmeraeg, yr hon sydd rhagorol. Wedi hyn cyhoeddodd waith dysgedig ar yr iaith Gymraeg yn ei chyssylltiad â ieithoedd ereill. Y cwbl a ysgrifenodd oedd deilwng o hono ei hun.

Yr oedd ei gyfoeth yn fawr iawn, ac yn ol ei "ewyllys ddiweddaf," yr ydym yn canfod fod yn agos i £1000 wedi eu rhoddi rhwng gwahanol gymdeithasau crefyddol, a phersonau tlodion. £5 yn unig a roddodd i dlodion ei fam eglwys, y rhai, tybir, ni thalwyd erioed. Credwn mai yr achos o fychandra y rhodd oedd, nad oedd yn gweled angen arnynt, ac nid angharіad; oblegid yr oedd yn hoff o'i hen wlad, a threuliai gryn amser yn ei hen gymmydogaeth. Yr oedd ganddo dŷ hardd i breswylio yno, a'i chwaer yn ddeiliades iddo, yn y Casbach, yr hwn yn bresennol sydd yn cael ei breswyliio gan Syr George Walker a merch yr Arglwydd Tredegar. Y mae llawer o berthynasau y gwr rhagorol hwn yn awr yn adnabyddus. Daeth llawer o'i gyfoeth i blith ei frodyr a'u plant, ond nid ydynt wedi ffrwythloni i godi nemawr o'r teulu yn uwch nag oeddent yn yr oesau blaenorol Y mae y brawd Thomas Llewelyn o Rhydri, yn un o'i olyddion, hefyd T. Ll. Brewery, Ysw., U.H., Tanygraig, ger y Casnewydd. Ond os methodd ei arian gyfoethogi llawer, y mae ei lyfrgell, a roddodd i Athrofa y Bedyddwyr yn Nghaerodor, wedi dwyn ei ffrwyth. Nid ydym yn gwybod nifer y cyfrolau, eithr y mae Mr. Crisp yn ein hysbysu eu bod yn cael eu hystyried yn werth, ar y pryd y rhoddwyd hwynt, dros £1500. Clefyd y gareg a'i blinodd yn fawr amryw flyneddoedd, a chyn ei fod

* Camb. Brit. Biog. t. 280.

yn hen, a'i symudodd o dir y rhai byw, yn y flwyddyn 1783, tua 60 oed, er galar mawr i'r Dywysogaeth.

9. Mr. DAFID LEWIS.—Gwr rhagorol, yn byw yn ardal Merthyr Tydfil, a sylfaenydd eglwys Sion yno. Bu farw 1767.

10. Mr. MORGAN JOHN REES,—neu fel y mae amryw haneswyr yn ei enwi, Morgan Rees. Gan nad yw ein terfynau yn caniatau i ni wneuthur dim yn debyg i gyflawnder a Morgan Rees (mwy nâ Mr. D. Rees a'r Dr. Llewelyn,) rhaid i ni gyfeirio at haneswyr mwy cyflawn ereill o hono, megis, "Crefydd yr Oesau Tywyll," &c. gan Mr. W. Roberts, tud. 30, 34. Y Traethodydd, 1851, &c.

Mab ydoedd i Mr. John Rees, o'r Graddfa, Llanfabon, lle y ganwyd ef Rhag. 8, 1760. Plant ei frawd henaf yw Mr. W. Rees, Penywaun, Mrs. Morgan, Pont Bedwas, ac wyrion iddo sydd yn awr yn preswylio yn y Graddfa, Llanbradach fawr, a Chefn Hengoed; ac yr oedd merch iddo ef ei hun (yr oedd iddo amryw o blant) yn ddiweddar yn fyw, ac yn wraig i'r enwog Ddr. Murray, Elizabeth City, Caerefrog Newydd.

Ei brif ragorion ydynt bwysig a gwerthfawr. Yn 1af. Gwybodaeth helaeth.—Cafodd ysgol dda, yn ol gallu ei dad, yr hwn oedd gryf yn y byd; a chafodd fwynhau manteision Athrofa Caerodor. Yr oedd ei feddwl yn wir afaelgar, a thrysorodd wybodaethau ei dymhor yn rhyfeddol gyflawn. 2il. Ysbryd rhyddfrydig.—Yr oedd yn wr rhydd iawn ei feddwl tuagat ei frodyr o wahanol olygiadau crefyddol; ac yr oedd o olygiadau rhyddfrydig mewn gwlad-lywodraeth,—yr oedd yn *radical* yn yr ystyr hyn. 3ydd. Yr oedd, pan wedi gwneud i fynu ei farn ar yr egwyddorion a dybiai yn iawn, yn gweithredu arnynt yn ddibryder, gan oddef y canlyniadau. 4ydd. Yr oedd yn ddiwygiwr mawr yn ei oes. 5ed. Yr oedd yn ddarganfyddwr achosion ac effeithiau i'r graddau ag oedd yn agos i fod yn broffwydoliaethol. Gwelir y pethau uchod yn amlwg pan ystyriom ei dymhor, a'r hyn a welodd, a deimlodd, ac a wnaeth efe. Y tymhor oedd un a ddarluniai efe dan effaith y goleuni yn ei feddwl ei hun: "Y mae fy ymysgaroedd yn cyffroi o'm mewn wrth feddwl am y nos o anwybodaeth sydd yn gorchuddio dealldwriaethau rhan fawr o drigolion ein gwlad." Dyna gyflwr Cymru ar y pryd, ac nid oedd dros 33 oed yn ysgrifenu y llinellau hyna. Wedi hyny, dywed, "Yr ydwyf yn barod, yn ol fy ngallu, wedi ymdrechu cyffroi eich meddyliau puraidd i ymlid niwl y tywyllwch ymaith." Yr oedd wedi gwneuthur hyn drwy sefydlu ysgol, fel y dywedir, mewn tŷ bychan yn mhlwyf Llanfabon, yn agos i dŷ ei dad. Argraffodd lyfryn i'r genedl ieuangc i ddysgu darllen. Teithiai hefyd ar hyd a lled y Dywysogaeth i bregethu o blaid Ysgolion Nosol a Sabbathol, yn gystal ag ysgrifenu o'u tu. Yr oedd ei rhag-gynlluniad o drefniant yr Ysgol Sabbathol yn cyrhaedd hyd eithafion ei amcan. Hefyd, canfyddodd rym cynllun y cyfnodolion. Cyhoeddodd y "Cylchgrawn," sef yr ail gyhoeddiad cyfnodol yn Nghymru. Y cyhoeddiadau hyn ydynt wedi goleuo ein cenedl yn ddirfawr yn ol llaw. Rhagwelodd yr effeithiau ar "y tywyllwch," a dywedai "Mi a'i gwelaf yn ffoi." Ac at gyfeillion gwybodaeth yr oedd ei lais; o awyddfryd ei galon dywedai, "Dyblwch eich diwydrwydd i'w ymlid, nes y caffo ei gau i fynu yn y pwll diwaelod." Y mae ei ddymuniad heddyw i raddau wedi ei gyflawni; ond eto angen "dyblu diwydrwydd" sydd, er dyrchafu yr ieuengctyd i ben bryn gwybodaeth gyflawn o'r efengyl.

Yn ei gariad at ryddid gwladol yr oedd gyda y blaenaf yn ei oes. Dygodd hyn ef i Paris yn amser y gwrthryfel, yr hyn a'i gwnaeth yn wrthddrych drwgdybiaeth llywodraeth Prydain, ac a'i gyrodd dros y Mor Werydd i breswylio yn America, yn ol siampl llawer yn amser yr erledigaeth. Bu fyw yn ddefnyddiol yno hyd y flwyddyn 1804, pryd y gorphenodd ei yrfa yn nghanol ei oes a'i ddefnyddioldeb, yn 44 ml. oed.

Ordeiniwyd ef yn Mhenygarn yn 1787, a bu yn gweinidogaethu yno ac yn y Twyngwyn am tua saith mlynedd. Yr oedd yn bregethwr gwir efengylaidd, llithrig, a phoblogaidd.

11. Mr. William Harri Elias.—Cydoeswr a henach dyn nâ Morgan Rees oedd efe. Bu yn gweinidogaethu yn y Twyngwyn, ac yn ddefnyddiol iawn am lawer o flynyddoedd fel aelod a phregethwr. Bu farw tua 1798.

12. Mr. John Jones.—Y mae gan yr ysgrifenydd gof am y brawd hwn,—digrif diniwed oedd. Gweddw dlawd oedd ei fam, ac nid oes genym wybodaeth pa fodd y gallodd roddi dysgeidiaeth iddo; ond y cyfryw oedd ei wybodaeth rifyddegol fel nad oedd nemawr ail iddo yn ein gwlad. Cafodd y teitl cymmeriadol o "Jones y *Mathematician*." Aeth i ysgol y Fenni ar yr ammod o ddysgu yr athraw, Mr. Micah Thomas, yn yr wyddor uchod, ac iddo yntef gael addysg yr athraw galluog mewn ieithyddiaeth, &c. Llyngcai Jones ddysgeidiaeth fel yfed dwfr. Ordeiniwyd ef yn y Gelli, sir Frycheiniog, ond ni bu lwyddiannus yn y weinidogaeth. Priododd ddwy wraig gyfoethog. Cadwodd ei fam weddw yn gysurus, fel mab cariadlawn. Symudodd o'r Gelli i gadw ysgol uchelog yn Aberhonddu, lle y bu farw tua'r flwyddyn 1835, o 33 i 35 oed.

13. Mr. Titus Jenkins.—Mab ydoedd efe i J. Jenkins. Bu yn weinidog amryw flynyddoedd yn Ramsay, swydd Huntingdon. Gweler am dano ef yn gyflawn yn "Hanes Buchedd," &c. ei dad, tud. 179. Bu farw yn 31 oed, yn y flwyddyn 1834, ac y mae ei fedd yn monwent Hengoed.

14. Mr. John Jenkins.—Y mae efe yn bresennol, ac er ys 26 ml., yn genhadwr yn Llydaw. Trydydd mab J. Jenkins ydyw efe. Ysgrifenodd lythyr i gyfarch ei fam-eglwys yn nghyfarfod ei jubili, yn yr hwn y mae yn llefaru ei hyder y byddai "bendith helaeth yr Ysbryd Glân" arno, "er gwneud yr eglwys yn ddiolchgar iawn am ofal y Pen Bugail am dani hyd yn bresennol; peri i bawb o'i haelodau fendithio Duw am alluogi y brodyr sydd wedi eu rhagflaenu yn yr eglwys, i fod mor ddefnyddiol yn eu tymhor, a chynhyrfu pob brawd a chwaer i fod yn llafurus, gweddigar, a llwyddiannus i wneuthur daioni llawer mwy nag a wnawd yn oes eu rhagflaenwyr; yr hyn yn ddiau sydd alluadwy a thebygol, os ostyrir fod yr eglwys yn awr yn lluosog, a chyfryngau gwybodaeth a defnyddioldeb lawer yn helaethach, a bod yr addewid rasol yn parhau yr un, fel y digyfnewid Dduw a'i rhoddodd. Buasai yn hoff genyf fod yn eich plith, ond nis medraf ond eich cyfarch trwy lythyr. Felly yr wyf fi a'm hanwyl wraig yn eich cyfarch oll fel eglwys, yn yr Arglwydd, gan ddymuno i chwi lawer o gymhorth, bendith, a llwyddiant." O herwydd y berthynas hon, y mae yr eglwys bob amser wedi teimlo yn fywiol yn achos Cenhadiaeth Llydaw, a gellid edrych arni mewn ystyr, yn gangen o'r hen bren bywiol hwn; canys yr oedd yr hen weinidog wedi teimlo llawer, a

gweddio, a gweithredu hefyd yn achos Llydaw, cyn dychymmygu mai ei fab oedd i fod yn offeryn i fyned â'r efengyl yno.

15. Mr. WILLIAM LEWIS.—Brawd ffyddlon a rhagorol. Aeth i Awstralia amryw flyneddoedd yn ol, lle y bu farw yn fuan wedi cyrhaedd.

16. Mr. JOHN EDWARDS.—Mab ydoedd ef i Mr. Charles Edwards, o Benallta Fawr. Bu yn Athrofa Pontypwl, a sefydlodd yn weinidog yn Penuel, Caerfyrddin, lle y bu yn wir ffyddlon, poblogaidd, a llwyddiannus am tua thair blynedd. Bu farw yn nghanol ei barch a'i ddefnyddioldeb pan yn 33 oed, yn y flwyddyn 1844. Y mae ei feddrod gyda'i deulu yn monwent Hengoed.

17. LLEWELYN JENKINS.—Aelod cyntefig o eglwys Hengoed ydwyf, ond yn y Tabernacl, Caerdydd, ac ar gais yr eglwys hòno, y dechreuais bregethu yn y flwyddyn 1832. Diolch i'r Arglwydd am gynhaliaeth ffordd hyd heddyw.

Y mae yn deilwng o sylw fod pob un o'r pregethwyr a gafodd yr eglwys y fraint o'u meithrin, ac ydynt wedi gorphen eu gyrfa, wedi cael y rhagorfraint o anrhydeddu eu proffes hyd y bedd, bron oll wedi bod yn wir ddefnyddiol, a rhai o honynt yn lywyddion ar y maes, er cysur mawr i'w mamaeth, ac er clod mawr i drugaredd y nef. I Dduw pob gras y byddo y gogoniant yn oes oesoedd.

## PREGETHWYR ACHLYSUROL YR EGLWYS,

Sef y rhai a fuont yn cynnorthwyo yn dymhorol, a chwedi dyfod o eglwysi ereill.

*Mr. Jenkin John.*—Aelod cyntefig o Rhydwilym, ac a symudodd yma o'r Blaenau. Gwr tra galluog oedd, a bu yn cynnorthwyo yma o tua 1720 i 1730. *Mr. Roger Dafid.* --Gweinidog priodol Llanwenarth oedd y dyn rhagorol hwn; ond gan ei fod yn preswylio yn Ngwaelywaun (yn briod a merch Mr. W. Phillips, cyn breswylydd y lle), yr oedd yn gyfleus, ac yn frawdol yn cynnorthwyo yn aml yn yr eglwys. Bu farw yn 1743, a chladdwyd ef yn monwent Hengoed, lle y gwelir coffadwriaeth am dano. *Mr. Morgan Thomas.*—Nid oes genym hanes ond ei fod yn cynnorthwyo yma yn y flwyddyn 1718. *Mr. Edward Evans.*—Gweinidog Sion, Merthyr. Bu yn cael ymgeledd yma yn ystod chwildroadau gweinidogaethol yr eglwys hóno tua 1799, ac am rai blynyddau wedi hyny. *Mr. William Phillips* a fu yn cynnorthwyo yn ardal y Casbach tuag amser sefydliad yr eglwys yn Bethesda.—*Mr. John Morris.*—Bu yn pregethu yma amryw flyneddoedd, ac y mae yn fyw yn bresennol ar a wyddom.—*Mr. Edmund Jordan*, yr un modd. Y mae beddrod Mr. Thomas Edwards, gynt o Benyfai, tadcu Mr. Richard Edwards, gynt Llancarfan, yn monwent Hengoed. Hefyd beddrod Mr. Thomas Dafis, o Landinam, yr hwn a fu farw ar daith.

## AELODAU NODEDIG YR EGLWYS.

Ni ddysgwylir i ni ddweyd dim yma am y *byw*, ond y rhai hyny ydynt wedi gorphen eu gyrfa mewn anrhydedd trwy nerth gras y nef.

Yn nhud. 26, sonir am y *Colonel Pritchard*, o Lancaiach Fawr, plwyf Celligaer, a gwelir ei enw ef hefyd, sef "*Edward Pritchard*," wrth lythyr yr eglwys, yn nhud. 22.* Yr oedd efe, yn ol tebygolrwydd, yn swyddog yn y fyddin dan Siarls I. Yr oedd yn wr o gyfoeth, ac

* *Gwelir dyfeiriad* gwallus yn nhud. 26, at tud. "18;" dylasai fod 22.

yn meddu cyssylltiadau uchel. Dywedir ei fod yn berthynas drwy ei fam i'r Arglwyddi Talbot. Y mae traddodiad i'r brenin uchod, pan ar ei daith bererinol yn Nghymru, gysgu noswaith yn Llancaiach Fawr, eithr nid yw hyny yn gywir. Trwy gyfeillgarwch W. Llewillin, Ysw., Glanwern, Pontypwl, yr ydym yn medru rhoddi hanes gywir o "Daith ei Fawrhydi" yn yr ardal hon yn y flwyddyn 1645, sef "Gwener, Gorph. 25ain, cyrhaedd i Ruperra, tŷ Syr Phillip Morgan, — 4 noswaith. Dydd Mawrth, 29ain, myned i Gaerdydd at y Llywodraethwr, — saith noswaith. Mis Awst, 1645. Dydd Mawrth, y 5ed, Llancaiach, tŷ Mr. Pritchard, i giniaw; ac i Aberhonddu at y Llywodraethwr i swpper."* Y mae hanes bellach am dano i'w gweled yn y "*Royal Collection*" yn y "*British Museum.*" Yn y "*Royal Pamphlets,*" *vol.* 318, yr ydym yn cael hanes "Tystiad o weithrediadau amrywiol Farchogion *(Knights)* a boneddigion ereill, yn Morganwg, y rhai ydynt yn cyhoeddi o blaid y brenin a Syr Thomas Fairfax." Yn mhlith pethau ereill, cynnwysa "Gynnygiad i *Colonel* Prichard, Llywodraethwr (*Governor*) Caerdydd, oddiwrth amrywiol Farchogion a boneddigion ereill yn Nghaerdydd, anfonedig yn llaw boneddiges," dyddiedig "Llandaf, Mehe. 15eg. 1647." A thrachefn, "Llandaf, Mehe. 16, 1647," llythyr yn gofyn atebiad dioedi i'r blaenorol, wedi ei arwyddo gan "Joh. Stradling, H. Stradling, Th. Stradling, Charles Kewes, Edward Thomas, Robert Thomas, Th. Not, Richard Bassett." Wedi hyny "Caerdydd, Meh. 16, 1647," y mae *Colonel* E. Pritchard yn galw arnynt hwy i roddi gwybod "oddiar ba awdurdod yr oeddent hwy yn aflonyddu heddwch y sîr, ac yn ymosod ar warchodlu ag oedd at wasanaeth y Brenin a'r Senedd. Meh. 17eg." Y maent hwy yn ateb trwy gyhoeddi gwrthryfel, "am waed yr hon ystyrid y *Colonel* yn euog." Yr un dydd y mae y *Colonel* Pritchard yn galw arnynt hwy i wasgaru eu lluoedd anghyfreithlon, ac yn gofyn am atebiad buan." Gwelir fod y *Colonel* Pritchard y pryd hwn o blaid y brenin. Y mae traddodiad, iddo ef wedi hyn droi yn erbyn y brenin, ond fod ei wraig yn *Royalist* ffyddlon, ac i hyny, yn amser yr adferiad achub ei feddiannau. Eithr dengys yr amgylchiad o leiaf ei fod yn berson uchel yn y wlad, ac o ymddiried yn ngolwg ei frenin. Mwy nâ thebyg fod y gwr anrhydeddus hwn yn wrandawr i Mr. Dafid Dafis yn eglwys Celligaer, y blyneddoedd blaenorol i ffurfiad eglwys Hengoed, felly ei fod yn hysbys o gymmeriad da y gwr hwnw, ac wedi cael cyfle i ddeall athrawiaeth rhad ras, a gwrando ei resymau dros fedydd y crediniol, &c. Yr hanes yw, fod ei argyhoeddiad mor drwyadl, fel pan ddaeth i benderfyniad, er fod yr hin "yn oer iawn a rhewiog, ni fynai efe oedi yn mhellach, ond gorfuwyd torri yr iâ i'w fedyddio." Yr oeddent yn amser Josh. Thomas yn adnabod y fan, yn Llanfabon, lle "cafodd yr ordinhad ei gweini arno." Dyna gymmaint o hanes a feddwn am dano hyd yn hyn; ac er ei fod yn ddifyrus ddigon, buasai yn hoffusach genym gael mwy o hanes ei wasanaeth i Frenin Sion, er bod wrth lai o'i hanes fel milwr gwrol. Tebygol iawn yw iddo fod o wasanaeth mawr i'r dyoddefwyr, os nid yn achos i rwystro erlid ar blant Duw yn yr ardaloedd.

Yn arwyddo yr un llythyr, (tud. 22.) gwelir enw *Thomas Efans.* Y mae yn debygol mai y Cadpen Efans o Ddyffrynffrwd, plwyf

* Collectanea Curiosa, vol. ii. p. 443, (Oxford 1781,) Art. "Iter Carolinum."

Eglwysilan, oedd y brawd hwn. Dywedir am dano, ei fod yn "wr dawiol iawn, tra hynod am ei elusengarwch, ei addfwynder, gostyngeiddrwydd, a charedigrwydd brawdol." Tebygol yw y gallasai cyfeillgarwch dynion mor ddylanwadol yn y wlad, gael effaith ddaionus yn amser yr erledigaeth, fel na bu dyoddefiadau y frawdoliaeth hon mor bwysig. Ond er pob ymdrech ymddengys i'r brawd

*William John*, o Graig-yr-Allt, gael dyoddef trwy ei garcharu, a chymmeryd ei feddiannau droiau gan y swyddogion creulon am gynnal cyfarfodydd yn ei dŷ; ond brawd ffyddlon a fu y mae yn debygol hyd ei fedd. Bydded ei goffadwriaeth yn werthfawr genym. Gyda y rhai uchod, rhaid rhoddi lle ewyllysgar i enw

*Yr Hen Saphin.* Y mae yn debygol mai *Sephaniah* oedd ei enw priodol. Dywedir ei fod yn preswylio yn ardal Penybont-ar-Ogwr, ac yn cyrchu o leiaf bob mis i'w gymundeb. Y mae yn debyg ei fod yn wr deallus iawn, llewaidd, a pharodol ei atebiad; ac yn adnabyddus iawn drwy y wlad. Ymddengys ei fod yn byw yn nhymhor yr erledigaeth. Gwr sêlog, gweithgar, a hwylus oedd yr "*Hen Saphin.*" (Gwel ychwaneg yn Han. Bed. J. T. tud. 194.)

*Rachael Lewis.* Yn Merthyr Tydfil, yr oedd yn byw o 1750 ymlaen. Merch ydoedd i'r enwog Enoch Francis, Castellnewydd-yn-Emlyn. Bu y chwaer hon yn neillduol ymdrechol i sefydlu barn gywir ac ymarferion y Bedyddwyr yn nechreuad yr achos yn Merthyr: yn wir yr oedd yn fam yn Israel. Yr oedd yn naturiol iawn i'r chwaer hon ddyfod yn aelod i Hengoed, oblegid aelod o'r eglwys hon oedd ei mham, sef merch Blaen Rhymni.

Dywed y brawd Griffith Williams, fod y diweddar Ddr. Jenkins, yn adrodd fod tair o chwaeriorydd gwybodus iawn yn Ngair Duw yn yr eglwys pan ddaeth ef yma. Eu henwau oedd *Cât* neu Catherine Miles, Shiwan (neu Joan) John Luc, a Shenad (neu Jennet) o'r Groesfaen. Nid oes genym hanes bellach am danynt nâ bod yr hen weinidog uchod yn dweyd eu bod mor ddeallus mewn athrawiaeth a dysgyblaeth a'r cyffredin o bregethwyr y tymhor, a'u bod o gryn wasanaeth yn eu dydd.

Ymhlith yr aelodau ydynt wedi myned oddiwrth eu gwaith at eu gwobr o fewn cof, ac a fuont o ddefnydd neillduol gyda yr achos, yr ydym yn ystyried yn deilwng i enwi, ac i osod mewn coffadwriaeth, Elisabeth Jones, merch J. Dafis, Penygareg, a gwraig gyntaf y brawd T. Jones, Celligaer. Elisabeth Edwards, Tredomaen Fawr, plant yr hon ydynt oll yn ddefnyddiol gyda chrefydd; un yn neillduol yn mhlith Bedyddwyr Cymreig yr America, sef Mr. Richard Edwards, cyhoeddwr a golygydd y "Seren Orllewinol." Elisabeth Hopkins, Heolddu, a John ei gwr. William Dafis, a'i wraig, o Dwyngytyn. Thomas Edwards, Pen-rhiw-y-felin; gwr haelionus caredig. Edward Lewis, a'i wraig, o'r Gellidywell. Rosser Thomas, Penydaren, yn nhŷ yr hwn, yma ac yn Mhen-llwyn-y-sarff, y bu llawer o bregethu, cyn ac wedi iddo ddyfod at grefydd. Margaret, gwraig Mr. William Dafis, Gwrthonor. John Thomas, Pontaberpengam, brawd synhwyrol a llariaidd, a fu yn arweinydd peraidd y canu am flyneddoedd lawer. Magws Emwnt Howel, a dreuliodd fywyd crefyddol o dri ugain ...dd braidd yn ddifrycheulyd. A Mari Thomas gofus a charedig, ...dd y tŷ yn lân am flyneddoedd ar ol ei mham.

## DEACONIAID YR EGLWYS.

Yn yr eglwys hon nid yw y pwys ag sydd arferol gan lawer o eglwysi yn cael ei roddi ar y swydd ddeaconaidd. Ni edrychir ar y deaconiaid yn wahanol i aelodau ereill yr eglwys, ac nid ydynt hwythau yn meddwl fod unrhyw *awdurdod* neu *fawredd* mewn cyssylltiad â'r swydd. Edrychant arni fel sefyllfa o wasanaeth, ac nid clogyn swyddogol. Felly o fewn ein cof y mae rhai o aelodau yr eglwys yn llawn cymmaint os nid yn fwy eu dylanwad nâ'r deaconiaid, a hyny oddiar anewyllysgarwch y swyddwyr, fel y cyfryw, i gael eu hystyried yn *blaenori*. Ni roddant arnynt eu hunain bwys *swyddogol*, ond *aelodol yn unig*. Gobeithiwn y parha yr ysbryd hwn yn swyddwyr yr eglwys drwy yr oesau dyfodol, canys y mae yn sicrhau happusrwydd i'r gweinidog a chysur mawr i'r frawdoliaeth. Nid er mwyn clod y mae yr ysgrifenydd yn cofnodi hyn, ond fel ffaith werthfawr, ag sydd yn rhoddi cyfrif am ffaith arall, sef nad oes ar gof nac mewn hanes fod yr annymmunoldeb lleiaf wedi bod rhwng yr eglwys â neb o'i swyddogion fel y cyfryw; ond gallwn ddweyd am amryw o'r rhai y mae eu henwau isod, iddynt ennill iddynt eu hunain "radd dda, a hyfdra mawr yn y ffydd."

*Jenkin Llewelyn.*—Yr ydym yn tueddu i gredu ei fod yn ddeacon, ac mai ei dŷ ef oedd yr "Hendre," (gwel tud. 04.) a elwir yn awr "Hendre Evan Prosser," Eglwysilan. *Thomas John Evan.*—Dyma y nesaf ag y mae genym hanes am dano. Tadcu oedd efe i Thomas John Thomas, o Fynyddislwyn, (mab yr olaf yw Mr. Thomas Thomas, Ty-yn-y-llwyn, yn bresennol.) Tebygol hefyd yw fod *Walter Dafid*, Blaen Rhymni, a *Joseph Harris*, Berthlwyd, wedi bod yn y swydd. *Thomas James*, Cefn Hengoed, brawd Mr. Lewis James, y gweinidog. *James Dafis*, Penygareg. *John Jones*, Pentref Celligaer. *Thomas Jones*, hen ddeacon presenno' Celligaer. Bu yn talu yr ymweliad diweddaf â Hengoed ychydig Sabbathau yn ol, yn 87 oed. *Lewis William Jones*, Bedwas. *Dafid Morgan Dafis*, Bedwas. Bu yn ddeacon yn yr eglwys hon amryw flyneddoedd, ond ei artrefle oedd Caerffili. Buom yn ei angladd ychydig ddyddiau yn ol. Yr oedd yn 86 oed. *Edward Morgans*, Bedwas. *Thomas Benjamin Dafis*, brawd ffyddlon, a thad John Dafis yn awr o eglwys y Brithdir. *Lewis James*, Ysw. Coed-y-brain. *Edward Dafis*, Ysw. yn awr o'r Coedduon. Y rhai hyna oll ydynt wedi gorphen eu gyrfa ddaearol ond y brodyr T. Jones ac E. Dafis.

Y rhai canlynol ydynt ddeaconiaid presennol yr eglwys: *Thomas W. Dafis*, Pencraigfargod. *William Jones*, Twyn Shon Evan; yr hwn hefyd sydd yn Gofiadur yr eglwys. *Lewis Lewis*, Bedwlwyn; yr hwn hefyd yw Trysorydd yr eglwys. *Edward Edwards*, Tredomaen Fach. *Benjamin Waters*, Pengam. A *Llewelyn Jenkins*, Maesycwmwr.

Y mae y gweinidog, y deaconiaid, a'r brodyr canlynol yn ymddiriedolwyr ar feddiant yr eglwys, sef Lewis Jenkins, Celligaer; John Nicholas, Penycwar; Richard Edwards, Cwmdu; Daniel Price, Ystrad; Thomas Edwards, Tredomaen Fawr; John Morgan, a Dafid Dafis, Pengam; a Richard Lewis, yr hwn a aeth yn ddiweddar i'r Unol Dalaethau.

## MEDDIANT YR EGLWYS.

Er fod y tŷ cyfarfod cyntaf wedi ei adeiladu er ys wyth mlynedd yn flaenorol, ni wnawd gweithred yr ardrethiad hyd Hydref 1af, 1718. Enw y perchenog oedd Elisabeth Rogers; ond y mae wedi chwanegu enw ei mab gyda'i enw ei hun, sef James Lewis. Dyma dad Lewis James, gweinidog y lle wedi hyny. Y mae yn debyg fod ei famgu wedi bod yn briod yr ail waith, ac yn weddw, nid annhebyg yn grefyddol, ar y pryd y bu mor gariadlawn a rhoddi y tir at yr achos goreu. Yr oedd yn ddarn helaeth o dir, sef y cwbl y mae y tŷ presennol, a'r *hen* fonwent, a'r ffordd o du y gorllewin, a'r marchdy, yn sefyll arno. Yr ardrethiad oedd pump swllt y flwyddyn, am fil ond un o flyneddoedd. I William Edward, o Lanfabon, ac Edward James o Gelligaer, yr ardrethwyd y tir o du yr eglwys.

Yn y flwyddyn 1777, gwnawd gweithred ardrethol newydd arno, rhwng Thomas James, perchen y tir y pryd hwnw, sef brawd i'r gweinidog, a Thomas Walter Dafid, (Blaen Rhymni,) a Joseph Harris, (Llanfabon,) o du yr eglwys; a James Dafis, (Penygareg,) a Lewis Edwards, (Bedlcinog,) tystion. Yr ymddiriedolwyr a enwir yn mhellach yn y weithred ydynt, John Morgan Evans a John Davies. Dyben y weithred hon, yr ydym yn dra sicr, oedd gosod ynddi y gyffes ffydd a welir yn nhud. 65, er rhwystro Arminiaeth i ddyfod eilwaith i mewn, i achosi y fath derfysg. Gyda hyny, yr oedd yn darparu fod y tir i gael ei ddefnyddio at gladdu y meirw, ac i adosod ymddiriedwyr gan y mwyrif o aelodau yr eglwys ar farwolaeth y lleill o honynt.

Adeiladwyd tŷ addoliad cyntaf yr eglwys yn 1710, (gwel. y darlun.) Ei hyd oedd tua 40 troedfedd wrth 20 o led. Gellir meddwl ei fod ef a'r ddau farchdy yn werth £300. Yr oedd wedi ei adeiladu yn gryf, ac oll o goed derw. Nid oedd ond dwy ffenestr iddo, a thua 8 troedfedd oedd i'r gyfargod. Yn y flwyddyn 1813, tynwyd ymaith y tô, a chodwyd y muriau tua dwy droedfedd, &c. yr hyn a fu yn werth dros £48 i'r eglwys. Addolwyd ynddo am 119 o flyneddoedd. Mehef. 14eg. 1829, y pregethwyd olaf ynddo, sef yn y bore gan Titus Jenkins, ac yn yr hwyr gan ei dad, J. Jenkins. Hyd. 11eg, 1829, y pregethodd y gweinidog gyntaf yn yr addoldy presennol, oddiar Diarhebion xvii. 17. Cynnaliwyd cyfarfod agoriad ynddo Mai 19, 1830. Ei faintioli yw 38½ wrth 36½ o droedfeddi drosodd. Y mae y pulpud a'r côr o'i flaen, a phump o'r pyst dan yr oriel wedi eu gwneud yn gwbl o goed derw yr hen dŷ cyfarfod. Gwerth y tŷ hwn oedd £420. Gorphenwyd talu am dano yn y flwyddyn, 1836.

Adeiladwyd ac agorwyd (Hyd. 3ydd.) tŷ y Berthlwyd yn 1841.

Yn y flwyddyn 1843, tynwyd i lawr y ddau hen farchdai adfeiliedig, y rhai oeddent yn sefyll yn gofgolofnau o luosogrwydd y meirch fuont unwaith yn cyrchu yr hen aelodau lluosog a phellenig i'r hen dŷ. Adeiladwyd un arall eang yn eu lle, yr hwn sydd yn sefyll yn bresennol heb ond ychydig ddefnydd iddo. Gyda hyn adeiladwyd muriau i'r fonwent, &c., y cwbl yn werth £30 15*s*.

Yn y flwyddyn 1857, adeiladodd yr eglwys addoldy Pontaberpengam, yr hwn sydd eisioes yn rhy fychan, ac yn galw am helaethiad. Y mae y tŷ hwn yn werth i'r eglwys tua £320.

Yn y flwyddyn 1858,* canfyddwyd fod yr hen dir claddu yn myned *yn gyfyng*, a phenderfynodd yr eglwys ofyn i Mr. John Rees, mab

* *Ardreth y tir* newydd yw 31s., *nid* 25s. fel y gwelir yn y tud. nesaf.

Mr. J. Rees a enwyd yn flaenorol, i ardrethu darn o dir i'r perwyl, yr hyn yn barodol a wnaeth. Yr ardreth yw *25s.* y flwyddyn. Gyda hyn, gwnaeth yr eglwys adeiladu ac adgyweirio yr holl furiau o heol y plwyf at ei dŷ ef bob tu i'r ffordd, ac oll o amgylch y tir claddu. Bu hyn, gyda gweithred ardrethol newydd, yn draul i'r eglwys o £100. Nid oedd talu am dir i gladdu yn flaenorol i hyn; ond i'r dyben o gyfarfod â'r draul hon, gosodwyd tâl am y claddedigaethau o hyny allan.

Yn y flwyddyn ddiweddaf, 1860, gwnawd cyfnewidiad rhagorol yn y tŷ cyfarfod. Codwyd yr orielau yn fwy syth; torwyd darn o'r oriel gyferbyn a'r pwlpud, tua phedair troedfedd; gosodwyd wyth o gôreu newyddion ar y llawr; cauwyd y drws yn y canol, a gosodwyd ffenestr yn ei le; a gwnawd dau ddyfodfa, a dwy *lobby* iddynt tu fewn. Gosodwyd y ddwy ffenestr fawr presennol bob tu i'r areithfa, yn lle y rhai bychain a safent yn uchel yn y mur yn flaenorol; addurnwyd tipyn ar y nenfwd, &c., yr hyn oll a'i gwnaeth lawer yn fwy cyfleus a chysurus nag oedd yn flaenorol. Yr ydys yn bresennol yn nghylch ei doi o'r newydd, ei blastero, ei liwio, &c., yr hyn oll fydd yn draul i'r eglwys o tua £200.

Yr ydym i sylwi yma yn awr fod yr eglwys wedi talu holl dreulion ei hadeiladaethau yn y cannrif hwn ei hunan, heb gymhorth eglwysi ereill. Fe allai fod hyn yn ddyledus i benderfyniad y diweddar weinidog, yr hwn, pan ofynwyd iddo, yn amser y cynnygiad i adeiladu y tŷ cyfarfod yn 1829, a addawodd fyned i gasglu tuag at y ddyled at eglwysi ereill. Pan ddaeth amser talu, wrth fethu clywed son ganddo am fyned allan o'r ardal i gasglu, gofynodd un o'r diaconiaid iddo, "A ydych yn sefyll at yr ammod i fyned allan i gasglu?" "Ydwyf, ydwyf," ebe yntef. "Wel, y mae yn llawn bryd," ebe y diacon, "y mae eisiau talu; pa bryd yr ydych yn cychwyn?" Yntef a ymesgusododd eilwaith, ond gan gael ei wasgu atebodd, "Os ydych am wybod *pa bryd* yr wyf yn myned, mi a ddywedaf i chwi." "Ydym, bid siwr," oedd yr ateb. "Wel," ebe yntef, gyda gwên, "pan byddoch chwi yn rhy dlawd i dalu eich hunain; tlodion sydd yn *begian*, ac y mae yn rhaid i mi gael *dweyd y gwir*, *eich bod chwi yn rhy dlawd, cyn y gallaf fyned.*" Dyna lle y safodd y siarad hyd heddyw; ac y mae byth oddiar hyny, a digon tebyg yn flaenorol hefyd, yn rheol yn yr eglwys i dalu ei threulion ei hun. Felly nid yw yr eglwys am y deg mlynedd ar ugain diweddaf, wedi cyfranu at ei haddoldai ei hun ac ereill, ddim llai nâ £50 yn flyneddol, ac nid yw hyd yn hyn wedi gwrthod casglwyr rheolaidd, er ei bod yn awr mewn tua £300 o ddyled.

Gyda ei haddoldai, y mae gan yr eglwys ddau dŷ wedi eu hadeiladu ar dir Mr. L. Lewis, Bedwlwyn, yn y flwyddyn 1857. Y mae yr ardrethiad yn 25s. y flwyddyn am 850 mlynedd. Adeiladwyd y tai hyn ag arian rhoddedig gan wahanol bersonau, sef, £120 gan Morgan John, Eglwysilan, y rhai a roddwyd cyn cof gan neb byw; £20 gan Mr. Daniel Lewis, Gellidywell; a £20 gan rhyw un anadnabyddus yn awr. Y mae llog £120 o'r uchod i'r gweinidog, llog £25 i'r cynnorthwywr, a llog £15 i'r tlodion. At hyn y mae yr eglwys wedi myned i'r draul o £80 yn chwanegol at adeiladu y tai uchod, y rhai ydynt felly yn werth £240.

# ANNERCHIAD I.

## AR GYFLWR CREFYDD YN NGHYMRU YN GYFFREDINOL, AC YN NEILLDUOL YN MHLITH Y BEDYDDWYR, YN FLAENOROL I'R FLWYDDYN 1710.

---

### Gan y Parch. B. EVANS, Heolyfelin.

---

Annwyl frodyr a chyfeillion,—mae yn debyg na ddysgwylir i mi ar yr achlysur presennol, wrth roddi hanes fer am sefyllfa crefydd yn Nghymru, ac yn neillduol yn gysylltiedig ag enwad y Bedyddwyr, yn flaenorol i'r flwyddyn 1710, i fyned yn ol at y crybwyllion am ddyfodiad yr efengyl gyntaf i'n gwlad, ac olrhain yr hanesion am Frân Fendigaid a'i gyfeillion, Ilid, Cyndaf, ac Arwystli Hên, y rhai y dywedir iddynt ddyfod â hi yma o Rhufain, rhywle rhwng y flwyddyn 58 a 61; ac nid yw yn ddysgwyliadwy, mewn hanner awr o amser, i mi fyned ar ol y traddodiadau aml, a'r golygiadau amrywiol, am ei dygiad hi yma gan yr apostolion, megis Iago fab Zebedeus, Simon Zelotes, Pedr, a Phaul; ac yn enwedig y chwedl am Joseph o Arimathea. Digon yw dywedyd, i'r "newyddion da o lawenydd mawr" gyrhaedd bro enwog Morganwg mor foreu â diwedd y ganrif gyntaf neu ddechreu yr ail. Ac ni a ddylem fod yn wir ddiolchgar i'r Arglwydd am fod gwawr mor oleu wedi gwneyd ei hymddangosiad mor foreu ar ein broydd a'n bryniau tywyllion.*

Ein hamcan ni yn awr, am ychydig fynydau, fydd edrych i mewn i ansawdd a sefyllfa ein Tywysogaeth, mewn cyssylltiad â chrefydd, ac yn neillduol, fel y crybwyllwyd, yn mhlith enwad y Bedyddwyr, yn y canrifoedd blaenorol i'r 18fed.

I. Nodwn air ar Sefyllfa ein Gwlad mewn cyssylltiad a'r Ysgrythyrau. Gwelir ar unwaith, fod ein Tywysogaeth mewn sefyllfa o dywyllwch ac anwybodaeth, i raddau pell, pan yr ystyriom fod Gair yr Arglwydd yn brin, yn yr amseroedd hyn. A phan y byddo Gair yr Arglwydd yn brin, nis gall gwybodaeth (yn neillduol gwybodaeth grefyddol) fod yn helaeth. Ni a gofiwn mai yn y flwyddyn 1567 y daeth y cyfieithiad cyntaf o'r Testament Newydd trwy y wasg yn ein hiaith ni, gan yr enwog William Salesbury. Yr oedd hyn, fel y gwelir, yn tynu at ddiwedd yr 16eg gannrif. Daeth yr hyglod Ddr. Morgan a chyfieithiad o'r holl Fibl allan yn mhen 21 o flynyddoedd wedi hyny. Mil yn unig o gopiau a argraffwyd o hono. Daeth y Bibl allan yn ol ein cyfieithiad cyffredin ni yn awr, sef y cyfieithiad yn ol awdurdod y Brenin Iago a feddyliwn, yn mhen

* Bydded i'r darllenydd, os bydd am fyned ar ol yr hanesion hyn yn yr iaith Gymraeg, ddarllen y llyfrau canlynol: Hanes Prydain Fawr; Drych y Prif Oesoedd: Hanes y Cymru, gan Carnhuanawc; Eto, gan O. Jones; Hanes y Bedyddwyr, gan D. Jones; Athrawiaeth Bedydd, gan P. A. Mon; Darlith ar Hanes y Bedyddwyr, gan R. Ellis; Hanes Crefydd yn Nghymru, gan D. Peters, &c. &c.

32 o flyneddoedd ar ol un Dr. Morgan, sef yn y flwyddyn 1620, trwy offeryngarwch y Doctoriaid Parry a Davies.

Yn mhen 15 mlynedd ar ol hyn, sef yn y flwyddyn 1635, daeth Fafasor Powell a Walter Caradoc—y blaenaf yn Fedyddiwr, a'r olaf yn Annibynwr—a chwech mil o gopiau eilwaith er gwasanaeth i'r Cymry.* Yn ol tystiolaeth unol Joshua Thomas, awdwr Hanes y Bedyddwyr; D. Jones, ei ganlyniedydd; Titus Lewis, awdwr Hanes Prydain Fawr; a W. Jones, Caerdydd, awdwr Hanes y Cymmanfafaoedd, yr ydym yn cael fod eglwys Olchon (Capelyffin yn awr) yn bodoli yn 1633, sef cyn yr amseroedd diweddaf a nodwyd, ac y daeth y Doctoriaid Parry a Davies, F. Powell, a W. Caradoc, a'r Biblau i blith y Cymry; ond tebyg yw, fod cynnulleidfaoedd yma a thraw, yn y manau y byddent yn pregethu a gweinyddu yr ordinhadau, &c. am flyneddoedd cyn y dyddiadau uchod. Yr ydym yn crybwyll hyn, yn y fan hon, er dangos fod y cyfryw gynnulleidfaoedd wedi cael eu dechreuad mewn amseroedd tywyll, anghyfleus, ac anfanteisiol iawn i lwyddiant crefydd yn mysg ein cenedl.

GOLWG GYMHARIAETHOL.

Er ar y cyfan fod y Cymru a chystal, ië, dywedwn, yn meddu gwell manteision crefyddol na'u cymmydogion y Saeson yn yr amseroedd tywyll hyn, yn gystal ag yn y cannrifoedd blaenorol, y rhai a elwir "yr oesoedd tywyll;" yn neillduol, os credwn ein haneswyr, pan yn dywedyd fod yr Ysgrythyrau wedi eu cyfieithu (nid eu hargraffu, cofier) i'r hen Iaith Wen yn amser Cystenyn Fawr. Dygir i brofi hyn, eiriau Cattwg Ddoeth, o Lancarfan, yn y 6ed gannrif, pan yn llefaru yn erbyn traddodiadau Rhufain, "A GAIR DUW YN BENAF." Hefyd, eiddo y Bardd Glas, o'i Gadair athrawol, yn y 9fed gannrif, pan yn dywedyd yn erbyn yr un cyfeiliorniadau, "Nid gair ar bob gair, ond Gair Duw." Wele hefyd yn canlyn eiriau Taliesin, yr hwn a fu yn ddysgybl i Gattwg Ddoeth:—

"Gwae a gymmerth fedydd,
A chred a chrefydd,
Onis tystia."

Eto:—

"Pob peth a dderfydd
Ond cred a bedydd."

Yn yr 11eg ganrhif, dywedir fod Joseph, Esgob Llandaf, yn gofidio am nad oedd y rhieni yn dysgu eu plant i gadw y Sabbath, ac felly yn gorchymmyn i'r offeiriaid i'w dysgu yn yr Ysgrythyrau, "heb dâl, heb ged." Ac yr oedd yr hen Gymry yn ystyried taw peth ynfyd ac ofer oedd dysgu dim mewn iaith estronol; ac yr oedd diareb ganddynt i'r perwyl, "Tri anhebgor ysgoleigdod,—awydd diwydgais, pwyll awenfryd, a llyfrau cyflaith." Yn nghanol y 14eg gannrif, dywedir fod un William Breton, (efallai Brython,) yn ddyn dysgedig iawn yn mysg ein cenedl, ac iddo ysgrifenu llawer o lyfrau, ond mai ei waith penaf oedd ei esboniad ar holl eiriau dyrus y Bibl, ac fod yn debyg fod y llyfr hwn mor enwog yn yr amseroedd canlynol, fel ag y darfu i Stundish, Esgob Llanelwy, apelio ato yn ei ddadl ag Erasmus,

* Nid ein hamcan yma yw rhoddi yr hanesion yn gyflawn am ddygiad yr Ysgrythyrau trwy y wasg i'r Cymry, o'r dechreu hyd yn bresennol, ond yn unig dangos pa bryd a pha fodd y daeth y rhai *cyntaf*.

yr hwn oedd wedi gadael 1 Ioan v. 6, allan o'r argraffiad cyntaf o'i gyfieithiad o'r Testament Newydd, ond a'i gosododd i mewn yn yr ail argraffiad, ar awdurdod hen ysgrifen Gymraeg o'r Bibl, medd Dr. Gill.*

Mae Mr. S. Jenkins, Philadelphia, America, yr hwn yn ddiau sydd yn un o'r haneswyr goreu am yr hen Gymry, yn barnu fod eu gwybodaeth am yr Ysgrythyrau ac am yr efengyl yn fwy, ac eu bod wedi eu chadw yn burach, nâ holl genhedloedd y ddaear, trwy yr holl oesoedd tywyll, oddieithr y Waldensiaid, os ydyw y rhai hyny yn eithriaid hefyd. Ac yr ydym yn cael ar ddeall fod Dr. Peck, o America, yn ei "Sketches of the Welsh," yn tueddu i fod o'r un farn, er nad oedd gwaed Cymro yn ei wythienau ef. Nid pell hefyd, feddyliwn, o'r farn hon yw Dr. James, (Dewi o Ddyfed,) yn ol ei areithiau yn Eisteddfodau Tremadog, a Heolyfelin, Aberdâr. Mae Mr. Jenkins, a grybwyllwyd uchod, yn cael ei dueddu i gredu taw Cymru yn hytrach, yw y lle a barotowyd i'r wraig a'i mhab, yn yr anialwch, rhag y ddraig, yn ol y broffwydoliaeth yn llyfr y Datguddiad. Gan nad oes genym amser i ddifynu ei resymau, cyfeiriwn y darllenydd at ei "Letters on Welsh History." Wedi y cyfan, gallwn feddwl ei fod can debyced â dim am wybodaeth y Cymry yn yr Ysgrythyrau, yn yr oesau boreuol, yn gystal ag yn y canol oesoedd, eu bod yn meddu rhanau o honynt yn Gymraeg, a bod eu gweinidogion, eu dysgedigion, a'u beirdd, &c., yn eu dysgu o'r ieithoedd gwreiddiol hefyd, sef y Groeg a'r Lladin, gan eu bod yn gyfarwydd ynddynt; ac felly, rhwng y rhai cyfieithiedig a'r rhai anghyfiaith, yr oeddynt yn cael eu dysgu am feddwl Duw yn ei Air yn gyffredinol, hyd yr amser y daethant i feddiant o'r gwirionedd yn *gyflawn* yn eu hiaith eu hunain.†

Beth bynag am wybodaeth o'r Ysgrythyrau gan yr hen Gymry yn yr oesoedd tywyll hyn, amlwg yw nas gallasai fod yn helaeth iawn, gan nad oedd argraffu wedi dechreu eto. Ond am y Saeson, nid oedd ganddynt hwy yr Ysgrythyrau wedi eu cyfieithu o gwbl, wrth bob argoel, cyn i "seren y diwygiad," sef Wickliffe, eu cyfieithu tua diwedd y 14 gannrif, sef oddeutu y flwyddyn 1367. Cyn ymadael a hyn, mae yn naturiol i ni gasglu, fod gwybodaeth o'r Ysgrythyrau, o angenrheidrwydd, yn beth *prin iawn*, ac o gyrhaedd ein cenedl yn gyffredinol hyd ddiwedd y 17eg a dechreu y 18fed gannrifoedd. Felly, mae yn rhaid fod tywyllwch yn gordoi ein hen wlad, a bod ein cyndeidiau crefyddol yn llafurio o dan lawer mwy o anfanteision nag a allwn ni ddychymmygu yn yr oesoedd hyn.

### DRYGIONI PENAETHIAID EIN GWLAD, ER YN YMHYRAETH A CHREFYDD, YN Y 16EG A'R 17EG GANNRIFOEDD.

Amser a balla i ni fyned ar ol bywyd gwael, anaddas, a drwg ein breninoedd, ein tywysogion, a phenaethiaid ein gwlad, yn nghyd â rhan helaeth, os nid y rhan fwyaf, o offeiriaid yr Eglwys Wladol, yn Babyddol a Phrotestanaidd; a'r effeithiau oedd hyny yn ei gael yn nghyssylltiad a chrefydd. Nis gallwn, ychwaith, olrhain ar ol Llyfr Chwareuon *(Book of Sports)* Iago I.,—ei ddau argraffiad o hono, er llygru y bobl a arferent gyrchu i'r cyfarfodydd crefyddol; a'r trydydd

* Gwel Letters on Welsh History, a Hanes y Cymry, gan O. Jones.
† Gwel Hanes Cymru, gan Carnhuanawc, tud. 216.

argraffiad o hono gan ei fab, Siarls I., yr hwn a gafodd ar ol hyny fod ar y ddaear am *ychydig* o amser heb un pen ar ei gorff.

Er dangos mawredd tywyllwch, drygioni, a chyflwr iselwael ein gwlad yn yr 16eg a'r 17eg gannrifoedd, buasai yn angenrheidiol i grybwyll am yr erlid ymaith o'u gwlad a gafodd cannoedd o'r rhai rhagorol y ddaear; a'u carcharu, a'u lladd, trwy eu newynu, eu dienyddio, eu darnio, a'u llosgi, a gafodd ereill. Priodol yw dywedyd, fod gwaed y merthyron hyn, gannoedd o honynt, yn hâd i eglwysi lluosog a chynyddfawr enwad y Bedyddwyr y dyddiau hyn. Ond gan nas gallwn fyned ar ol y pethau a nodwyd, yr ydym yn cyfeirio y rhai anghyfarwydd o honynt at Lyfr y Merthyron, o eiddo Fox; Hanes Prydain Fawr, gan T. Lewis; Letters on Welsh History, gan S. Jenkins, ac at wahanol hanesion eglwysig. Ac i ddangos ofergoeliaeth a llygredigaeth y wlad, darllener yn neillduol Henafiaethau Defodol, Chwareuyddol, a Choelgrefyddol, gan y Parch. W. Roberts, Blaenau. Hefyd gweler y llyfr hwn, tud. 7—10.

II. Y Bedyddwyr yn yr Amseroedd hyn.

Goddefer i ni ddywedyd, wrth ddechreu son am y Bedyddwyr yn neillduol, ein barn bwyllog, ar ol darllen a chwilio gymmaint ag a allasem, ***nad ydym yn gallu cyfeirio eich meddyliau at unrhyw adeg, tymhor, neu oes, ag y*** DECHREUODD Y BEDYDDWYR FODOLI YN EIN GWLAD, fel ag y gallwn ddangos ddyddiad Eglwys Loegr, y Presbyteriaid, yr Independiaid, y Trefnyddion Calfinaidd, Wesleyaidd, &c. Yr ydym yn cyfaddef y gallwn nodi yn agos amseriad ein heglwysi a'n capeli, fel ag y maent yn ein meddiant yn *bresenol*; ond peth arall yw gosod bys ar ddyddiad yr adeg ag y daeth Bedyddwyr gyntaf i Wyllt Walia. Os daeth Brân Fendigaid a'i gyfeillion a'r efengyl i'n cenedl yn rhywle o'r flwyddyn 58 i'r flwyddyn 60, neu un o'r apostolion a nodwyd; neu ynte, os Joseph o Arimathea* a ddaeth a hi yn y blyneddau hyny; amlwg yw, fod y Bedyddwyr wedi dyfod yma yr un pryd, ac eu bod wedi parhau neu aros yma byth, o hyny hyd yn awr; o herwydd nid ydym yn barnu mor gul am neb ag sydd yn gwybod ychydig o hanesyddiaeth grefyddol, ag na chyfaddefai mai Bedyddwyr oedd y rhai a nodwyd oll. Dywedir gan haneswyr boreuol Cymru yn gyffredin, na byddai neb am, ac nad oedd neb yn bedyddio babanod yn y deyrnas hon nes i Awstin Fonach ddyfod yma dros ei feistr, y Pab Gregory Fawr, tua'r flwyddyn 600. Tri pheth mawr oedd mewn golwg gan hwn fel diwygiwr, i dwyn sylw Cristionogion a deiliaid y deyrnas hon atynt, sef, yn fyr, *gwyl y Pasg*, a *chydnabod y Pab yn ben yr eglwys*, yn nghyd a *bedyddio babanod*, (nid taenellu, cofier, gan nad oedd y Pab na'i was mor gwbl babyddol a hyny eto.) Ac wedi llwyddo i raddau helaeth yn Lloegr, ac ennill y brenin Ethelbert a'i lys, a llawer o'i deyrnas, a chyssegru afon Swede, yn agos i Gaerefrog *(York)*, trwy fedyddio *deng mil* ynddi; gwnaeth y monach gynnyg ar y Cymry, gan feddwl bod yr un mor

* Ymddengys y merthyr enwog John Penri o'r farn hon; canys dywed yn ei "Supplication to the High Court of Parliament, 'For why not a forged donation of Constantine, or Lodovicus Pius, in twin joyne the crowne of England to the sea of Davids or Bangor especially; which from Joseph of Arimathea, can be proved to have a little better continuance of personal succession, than Rome can from Peter.'"—Gol.

llwyddiannus yma hefyd. Ond fe ddarfu i Gristionogion Cymru ei wrthsefyll, — ac ni phlygent hwy i awdurdod y Pab nac i orchymmyn y gwas. O herwydd hyn, fe ffromodd y Monach, ac a ddylanwadodd ar y Saxoniaid i ymosod ar y Cymry, a bu hyn yn achos iddynt gael colli llawer o'u gwaed er mwyn enw Crist. (Gwel Dr. Benedict's Church History, tud. 343, &c.) Er cadarnhau mai Bedyddwyr oedd y Cristionogion Cymreig cyntaf, dywed ein haneswyr i'r brenin Cymreig Lucius, gael ei fedyddio pan oedd tua chanol oed, yn gystal ag i lawer o uchelradd y wlad i fabwysiadu Cristionogaeth yn y gannrif gyntaf, a'u bod oll, wrth reswm, yn Fedyddwyr. Yn mhellach, rhoddant enwau Ffaganus, Deimicanus, Alban, Aaron, Julius, Gildas, Dyfrig, Dynawt, Tailo, Padarn, Pawlin, Daniel, a Dewi, fel cynifer o weinidogion enwog y Bedyddwyr, pan ddaeth Awstin yma. Ac yr oedd Dynawd yn llywydd coleg neu gymdeithasfa Bangor ar y pryd; ac efe a ddewiswyd yn genadwr i ddadlu ag Awstin ar y pwnc o *fedydd*, mewn cynnadledd o weinidogion Cymreig a gyfarfuant ag ef ar ymylau sîr Henffordd. (Dr. Ben., tud. 344.) "Ac," meddai y Parch. Josiah Taylor, yn ei Hanes am y Bedyddwyr boreuol, "ni wyddai y Cristionogion Prydeinig am gristioneiddio neu fedyddio plant yn Lloegr cyn dyfodiad Awstin yma yn y flwyddyn 597; ac i ni, y mae yn eglur iddo ei ddwyn, *nid o'r nef*, ond *o Rufain*. Ond, er i'r deiliaid o fedydd ddechreu cael eu newid, eto fe gafodd y *dull* ei gadw yn yr eglwys genedlaethol am fil o flyneddoedd yn hwy o amser, a gweinyddid bedydd trwy drochiad. O ddyfodiad Awstin yma, fe ranwyd yr eglwys yn yr ynys hon yn ddwy ran, yr *hen* a'r *newydd*. Yr hen, neu eglwys y Bedyddwyr, a gadwent eu hegwyddorion dechreuol; ond y newydd a fabwysiadodd fedydd babanod, a lluosogrwydd ereill o goelgrefyddol bethau Rhufain." Ebai awdwr arall, "Mae genym bob rheswm i gredu fod gan y Bedyddwyr Cymreig eu cymmanfaoedd, a bod Dyfrig, Illtyd, a Dynawt, yn ddynion blaenaf yn eu plith yn hir cyn i Awstin wneyd un ymgais i'w troi at Babyddiaeth yn y gymmanfa a gynnaliwyd ar ymylau Lloegr oddeutu y flwyddyn 600." (Davis's Hist. Welsh Bap. tud. 187.) Taliesin yn y 6ed gannrif a ganai:—

"Gwae a gymmerth fedydd,
A chred a bedydd,
Onis tystia."

"Ior nef a daear,
Gwel y rhai hygar
A fu'n ddiweddar
Dan yr elfen.

"Pob peth a dderfydd
Ond cred a bedydd."

Gwel pawb a fyno weled, fod y bardd henafol hwn yn Fedyddiwr llwyr o ran dull a deiliaid. Priodolir hefyd eiriau fel hyn iddo, pan yn dweyd am rif y Derwyddon ag oeddynt wedi eu hennill at Gristionogaeth:—

"Nid oedd namyn Duw a Derwyddon
A wyr eu rhif dan ymchwydd y don."

Mae hyna yn cyfeirio atynt fel rhai wedi bod

"Dan yr elfen,
"Dan ymchwydd y don,"

ac wrth reswm yn Fedyddwyr. Ac mor hoff y gwelwn y "pen beirdd" hwn o ganu am fedydd Cristionogol, fel ag y cawn enghreifftiau ereill o'i eiddo:

> "Trwy iaith Talhaiarn
> Bedydd bi ddydd farn."

Eto:—

> "Mydwyf Taliesin dderydd
> Gwawel goddolaf fedydd,
> Bedydd rhwyf rhifeddan eiddolydd," &c.

(Gwel Carnhuanawc, tud. 352—185, &c.)

Nid yw ein hamser a'n gofod yn caniatâu i ni yn bresennol i olrhain am egwyddorion y Bedyddwyr trwy yr "oesoedd tywyll" hyd amser y diwygiad, &c.; ond dywedwn yn ngeiriau Dr. Benedict, "Fod gan y Bedyddwyr Cymreig yr ymddiried llawnaf, bod eu syniadau bob amser wedi cael eu cadw yn fyw yn eu henciliadau mynyddig, o oes yr apostolion hyd yr amser presennol. Yr oedd eu gwlad yn eu cyfrif hwy fel Piedmont arall, lle yr oedd y tystion dros y gwirionedd yn cael lleoedd i lechu a chuddio yn yr amseroedd tywyll ac ofergoelus cyffredinol." Noda yr un awdwr hefyd (ar ol amryw o haneswyr Cymreig, mae yn wir), fod W. Brute, cydoeswr â Wickliffe, Tyntal, Penri, Wroth, F. Powell, Thomas, &c. oll yn amser boreuol y diwygiad, yn dyfod allan dros egwyddorion y Bedyddwyr, ac yn cyhoeddi syniadau ag oedd yn llwyddiannus i'w hachos. Mae yn wir, mai un o ymdrechion penaf haneswyr taenellyddol yw cadw y pethau hyn o olwg y werin sydd yn codi, rhag iddynt weled henafiaeth a chysondeb egwyddorion y Bedyddwyr, o oes yr apostolion hyd yn awr: er hyny, o'r holl ddatguddiadau a wneir y dyddiau hyn gan haneswyr am sefyllfa crefydd yn y "canol oesoedd," neu yr "oesoedd tywyll," egluraf oll y mae y Bedyddwyr a'u hegwyddorion yn dyfod i'r golwg o'r oesoedd boreuol hyd yn bresennol.

III. Dechreuad Eglwysi y Bedyddwyr a'u Cymmanfaoedd, &c., fel yr adnabyddir yr enwad yn bresennol.

Fel y nodasom ar y dechreu, fe gorffolwyd eglwys reolaidd i'r Bedyddwyr yn Olchon, (Capelyffin yn bresenol,) tua'r flwyddyn 1633, er yn ddiameu fod yno bregethu am amryw flyneddau cyn hyny, efallai gan Fafasor Powell ac ereill, megis John Penri, a Howell Vaughan, ei gweinidog cyntaf. Fafasor Powell oedd sefydlydd eglwys Llanbrynmair, yr hon sydd yn awr yn eiddo yr Independiaid; yr hyn yw effaith *cymundeb cymmysg*. Wrth edrych ar effeithiau y "cymmysg" yma yn yr amser a aeth heibio, nid oes genyf galon, tra y dymunwyf lwyddiant y Bedyddwyr, i ddywedyd, "Duw yn rhwydd," i'r fath beth.

Yn y flwyddyn 1649, fe gorffolwyd eglwys Ilston, (Abertawe yn bresennol.) Dyma yr un fwyaf ei dylanwad; a hon a ystyrir yn fam i eglwysi Cymru, a rai yn America hefyd, gan i'w gweinidog cyntaf, Mr. John Myles, orfod ffoi, ac ereill gydag ef, yno yn mhen tua 13 o flyneddoedd wedi ei chorffoli, sef yn y flwyddyn 1662-3, pan oedd yr eglwys yn 263 o aelodau. Ac y mae yn ffaith i eglwys gael ei chorffoli yn Nghelligaer tua'r un amser; ond gan ei bod fel yr arch gynt heb un Seion, sef capel i aros ynddo, symudodd yn fuan i Lan-

haran, a hen dref Lantrisant; ac oddiyno yn fuan eilwaith i Graig-yr-allt a'r Berthlwyd. Ac fel yr oedd hi yn symud yn mlaen, yr oedd yn tynu yn nes nes at ei bryn arosol; ac ar ol crwydro o fan i fan, am yspaid 60 mlynedd, hi a gyrhaeddodd ar ysgwyddau ei charedigion sydd yn y nef heddyw yn uchel eu cân, i GEFN HENGOED, ei hen drigfa yn awr er ys 150 o flyneddoedd. Dyma y tair eglwys, ynte, a ddechreuasant gynnal cymmanfa yn Nghymru, sef Olchon, Ilston, a Llanharan. Efallai ei fod yn newydd i ambell un yma, i'r cymmanfaoedd cyntaf, yn ol W. Jones, gael eu cynnal fel hyn: y gyntaf yn Ilston, 1650; yr ail yn Nghaerfyrddin, 1651, lle yr oedd eglwys wedi ei chorffoli ddau fis cyn hyny, ond a wasgarwyd yn mhen tua 5 neu 6 mlynedd wedi'n gyda'r erledigaeth yn nechreuad teyrnasiad Siarls II.; y drydedd a gynnaliwyd, wrth bob tebyg, yn nghymydogaeth Celligaer, yn y flwyddyn 1652; y bedwaredd yn y Fenni, 1653; y bummed yn Aberafan, Ionawr, 1654; y chweched yn Llantrisant, Mehefin o'r un flwyddyn; a'r seithfed, a debygir, medd Mr. W. Jones, yn y Gelli, 1655; a'r olaf, sef y 9fed, cyn yr erledigaeth, yn Aberhonddu, 1656. Dyma wyth o gymmanfaoedd wedi cael eu cynnal yn Nghymru, cyn iddynt gael eu gorfodi i'w rhoddi heibio yn nechreu yr erledigaeth, ar ddechreuad teyrnasiad Siarls I., mewn wyth o leoedd *gwahanol;* fel y gwelir fod gan y Bedyddwyr achosion yn mhob un o'r lleoedd yn yr amseroedd hyn. Heblaw yr *wyth* a nodwyd, dywed Mr. W. Jones fod Cynnrychiolwyr oddiwrth bump o fanau ereill, yn y gymmanfa olaf yn Aberhonddu, yn cytuno i argraffu y llyfr a elwid, "Gwrthfeddyginiaeth i Wenwyn yr Amseroedd," sef rhai o Tredynog, Henffordd, Byddordyn, Clydach, a Llangors. Felly yr oedd y gymmanfa hon, yn y flwyddyn 1656, yn cael ei gwneyd i fyny o gynnrychiolwyr o 13eg o leoedd o leiaf.

O herwydd poethder yr erledigaeth am yr 28 mlynedd canlynol, beth bynag, nid ydym yn cael fod un gymmanfa wedi cael ei chynnal hyd y flwyddyn 1689, pan y cafwyd ychydig o ryddid crefyddol eilwaith, ac y daeth William III. neu Dywysog Orange, i'r orsedd. Mae yn wir fod Mr. W. Jones yn barnu i bedair ereill o gymmanfaoedd gael eu cynnal ar ol un Aberhonddu, cyn iddynt dori i fyny yn hollol o herwydd yr erledigaeth, er nad oedd ganddo hanesion wrth law am danynt. O'r flwyddyn 1689 hyd y flwyddyn 1700, sef am tuag 11 o flyneddoedd, sef ar ddechreu y rhyddid, bu eglwysi Cymru mewn undeb â chymmanfa Llundain am y tair blynedd cyntaf, a'r 6 mlynedd ereill yn un a chymmanfa Caerodor (*Bristol*), a'r 2 flynedd arall mewn cyssylltiad â chymmanfa Taunton. Yna, yn y flwyddyn 1700, dechreuodd y Bedyddwyr yn Nghymru eu cymmanfa eilwaith ar eu penau eu hunain, pan yr oedd 9 o eglwysi corffoledig, heblaw y canghenau, yn ei chyfansoddi, (wyth, medd Mr. Hughes, Dinas, yn ei Ragdraeth i Gofiant y diweddar T. R. Davies;) ond y mae Mr. W. Jones yn enwi y naw, sef Olchon, Abertawe, Llanwenarth, Craigyrallt, Rhusicer (neu Rhydwilym), Blaenau, Glandwr, Trosgoed, a Llantrisant, sîr Fonwy. Y gymmanfa gyntaf o'r rhai hyn a gynnaliwyd yn Llanwenarth, a deg ereill yn ychwanegol, o hyny hyd y flwyddyn yr adeiladwyd tŷ cwrdd Hengoed, sef y flwyddyn 1710. Nid ydys yn gwybod, fel y mae hyn yn drueni, pa le yr oedd y gymmanfa y flwyddyn hon; ond am y 12fed gymmanfa, gwyddom pa le y cynnaliwyd hòno

yn y flwyddyn 1711, sef gyda yr arch yn ei theml newydd, ar fryn Hengoed; a diolch i'r Arglwydd, ni bu pall na rhwystr ar ein cymmanfa na Hengoed o hyny hyd yn awr. Ond chwi a gewch glywed am hyn gan fy mrawd sydd i'm canlyn, yn gystal a'r hyn a glywsoch eisoes.

Dywed Mr. Hughes, yn ei Ragdraith rhagorol i Gofiant y Parch. T. R. Davies, fod gyda ni fel enwad, tua 42 o weinidogion yn Nghymru cyn dechreuad y Methodistiaid, yn y flwyddyn 1736. Mae yn dda genyf allu ychwanegu, fod gan y Bedyddwyr yn y cyfnod o sefydliad ein heglwysi yn Olchon, Ilston, a Llanharan, (Hengoed yn awr, cofier,) hyd amser dechreuad y Methodistiaid, yn y flwyddyn a nodwyd, rhwng y rhai oeddynt wedi myned at eu gwobr i'r nefoedd, a'r rhai oeddynt fyw ar y pryd, o gant i chwech ugain o leiaf, wedi bod ac yn llafurio yn galed, diwyd, a ffyddlon a llwyddiannus hefyd, trwy froydd a bryniau, gwlad a thref, Gwyllt Walia.

Nid oes genym amser i nodi eu henwau da, nac enwau y lleoedd mwyaf neillduol y llafuriasant ynddynt, a'r effeithiau bendigedig oeddynt yn cydfyned â'u llafur clodfawr ac ymdrechol. Heddwch i'w llwch santaidd; parch daublyg i'w coffadwriaeth anwyl ac enwog; a diolch i Dduw am eu cynnal yn gystal a'u codi, a'u nerthu mewn gwendid, eu gwneyd yn gryfion mewn rhyfel, a gorchfygu y byd, a marw yn fwy nâ choncwerwyr trwy yr hwn a'u carodd. Bydded i ddeuparth o'u hysbryd orphwys ar ein gweinidogion a'n heglwysi oll y dyddiau hyn; a bydded, gyda mantell Elias, i ni gael gwaeddi am Arglwydd Dduw Elias hefyd i'n cynnorthwyo a'n llwyddo gyda ei achos anwyl eto. AMEN.

---

## ANNERCHIAD II.

### CYFLWR Y BEDYDDWYR YN NGHYMRU, YN ENWEDIG YN SWYDD FORGANWG, O'R FLWYDDYN 1710 HYD YN BRESENNOL, O RAN CYNNYDD A CHYFNEWIDIADAU EREILL.

---

### Gan y Parch. EDWARD EVANS, Dowlais.

---

DYWEDAI y diweddar Barch. D. Saunders o Ferthyr, fel hyn:—

"Hanesion yr hen oesau—ganfyddir,
Gwn foddiant filiynau,
Pur o hyd b'ont yn parhau,
Gelwch y rhai'n i'r goleu."

Un o brif amcanion y cyfarfod y boreu hwn ydyw gwneyd hyn. Cawsom foddhâd yn yr adroddiad a roddodd ein hanwyl

frawd Mr. Evans i ni o "hanesion yr hen oesau;" ymestynwn ninau at yr un amcan trwy arwain eich meddyliau at dymhor diweddarach yn hanes yr enwad y meddwn yr anrhydedd o fod yn perthyn iddo.

Mae y tymhor dan sylw yn hir, a llawer o gyfnewidiadau wedi cymmeryd lle ynddo, ond ceisiwn ddwyn ychydig o honynt "i'r goleu" mor gywir ag y gallom. Mae rhai o ddysgawdwyr y bobl yn yr oes bresennol wedi dysgu llawer i feddwl, nad oedd ond ychydig neu ddim crefydd yn Nghymru yn y flwyddyn yr adeiladwyd Hengoed, a'r blynyddoedd ar ol hyny, ond cymmaint ag oedd yn yr eglwys sefydledig, hyd y flwyddyn 1736, pryd y sefydlwyd ysgolion dyddiol Cymreig yn y wlad, gan y Parch. G. Jones, Llanddawror, ac y dechreuodd y Parchedigion H. Harris, Drefeca, a D. Rowland, Llangeithio, bregethu i'r bobl; ond os nad oedd crefydd yn rhyw le yn y wlad yn y cyfnod hwnw, heblaw hyny oedd yn eglwys Loegr, rhaid nad oedd yma yr amser hwnw ond ychydig o grefydd; oblegid yr oedd crefydd yn hynod o isel yn yr eglwys hóno y blyneddoedd hyny. Bu yr enwogion a enwyd yn offerynau i adfywio a diwygio crefydd yn fawr yn yr eglwys sefydledig, fel y dywedai y bobl wrth eu gilydd yn yr amser hwnw, "Ni bu yn ein dyddiau ni y fath oleuni yn mhlith pobl yr eglwys." Yr oedd cyffro mawr yn y wlad y pryd hyny; yr oedd y bobl yn gadael eu difyrwch pechadurus, yn ymddiddan a'u gilydd am grefydd, ac yn ymgynnull yn nghyd yn gymdeithasau grefyddol. Y pryd hyny y dywedir y cafodd yr enwad parchus a elwir yn Fethodistiaid ei ddechreuad; ond y mae yn anhawdd gwybod pa un ai yn yr eglwys ai allan o'r eglwys yr oeddent hwy am lawer o flyneddau ar ol hyn; oblegid yr oedd llawer o honynt yn cydymffurfio â gwasanaeth eglwys Loegr yn eu dull o addoli, ac eraill o honynt yn addoli yn ol dull yr ymneillduwyr. Beth bynag, fe fu gweinidogaeth Rowlands a Harris yn offerynol i effeithio diwygiad mawr yn y wlad; ac o hyny hyd yn awr, y mae gwybodaeth grefyddol wedi ymdaenu yn rhyfedd yn Nghymru; ond yr oedd Bedyddwyr ac Ymneillduwyr eraill yn Nghymru,ië yn sîr Forganwg, ugeiniau o flyneddau cyn y flwyddyn 1736. Yr oedd Hengoed wedi ei adeiladu 26 mlynedd cyn hyny, a'r eglwys wedi ei chorffoli 60 o flyneddau cyn hyny. Dywedir gan ddynion ag y gallwn ni ymddibynu ar eu gwybodaeth hanesyddol, megis y diweddar hybarch J. Thomas a'r Parch. W. Roberts, Blaenau, na bu cyflwr crefydd yn Nghymru erioed o'r blaen cystal ag oedd yn y blyneddoedd cyntaf o'r 18 gannrif. Gwir fod llawer o anwybodaeth ac anuwioldeb yn mhlith y bobl y pryd hyny, ond yr oedd mwy o wybodaeth grefyddol yn y wlad, a moesau y bobl yn well, y pryd hyny nag oeddynt yn yr oesoedd blaenorol; ac os buasai rhai yn rhagori ar eraill yn eu gwybodaeth a'u moesau, Ailfedyddwyr, neu Bresbyteriaid, oeddynt yr enwau a roddid arnynt.

Yr oedd yn Nghymru yn y cyfnod hwn lawer yn gallu darllen, a chyhoeddwyd amryw o lyfrau buddiol a chrefyddol at eu gwasanaeth. Cafwyd tri o argraffiadau newyddion o'r Beibl yn Nghymraeg o'r flwyddyn 1717 hyd y flwyddyn 1727; a chyhoeddwyd o'r flwyddyn 1700 hyd y flwyddyn 1720, tua 60 o wahanol lyfrau da eraill; megis

gweithiau y Parch. E. Cole, ar "Ben-arglwyddiaeth Duw," a'r "Athrawiaeth yn ol duwioldeb," "Cristion o fewn y chydig," a "Chyffes ffydd y Bedyddwyr," cyfieithedig gan Mr. Rees David, yr hwn am beth amser a fu yn cadw ysgol yn Hengoed. Ychydig yn ddiweddarach y cyhoeddwyd "Holwyddoreg" y Parch. B. Keach; y "Gair yn ei bryd," gan y Parch. E. Francis; a'r "bregeth a draddododd efe yn Nghymmanfa Llangloffan, oddiar Can. viii. 12." Hon oedd y bregeth gymmanfaol Gymraeg gyntaf a argraffwyd erioed. Cyhoeddwyd yn 1730, "Gydgoriad Ysgrythyrol," yn Nghymraeg. Bernir mai hwn oedd y *Concordance* Cymraeg cyntaf a cyhoeddwyd erioed. Bedyddiwr oedd ei awdwr; Abel Morgan oedd ei enw. Efe oedd y gweinidog cyntaf ar eglwys y Blaenau; treuliodd y blyneddoedd diweddaf o'i fywyd yn America, a bu yno, fel yma, o wasanaeth mawr i'r Cymry. "Y mae efe wedi marw yn llefaru eto."

Yn y cyfnod dan sylw yr oedd gan y Bedyddwyr athrofa yn Nhrosnant, Pontypool, i hyfforddi dynion ieuainc oedd y pryd hyny yn dechreu pregethu. Dywedir fod tua 40 o bregethwyr ieuainc wedi cael cynnorthwy athrofaol yno yn nechreuad eu gweinidogaeth. Bu y Dr. Thomas Llewelyn, o Benalltau Isaf, aelod gwreiddiol o Hengoed, yn yr athrofa hon. Bu y gwr dysgedig hwn yn ei fywyd o gynnorthwy mawr, mewn llawer ffordd, i'w gyd-genedl yn Nghymru, ac yn neillduol i'w frodyr y Bedyddwyr. Sefydlwyd athrofa Brista yn 1770; felly darfyddodd yr athrofa hon. Dywed yr hynafiaethydd enwog, y Parch. W. Roberts, Blaenau, fod yn Mhontypwl y pryd hyn argraffwasg, ac yn ol pob tebygolrwydd mai dan nawdd y Bedyddwyr yr oedd hóno.

Ychydig o dai cyrddau oedd i'w cael yn y cyfnod hwn gan y Bedyddwyr na neb arall. Ar ol y flwyddyn 1710, yr adeiladwyd bron yr holl dai cyrddau sydd yn awr yn Nghymru gan bob enwad. Yr oedd amryw o eglwysi Bedyddiedig wedi eu corffoli y pryd hyn, ond mewn tai fermydd y byddent yn addoli; ac yr oedd yn perthyn i rai o'r eglwysi hyny amryw gangenau yn cyfarfod i addoli yn y tai mwyaf cyfleus yn y cymmydogaethau, lle yr oedd eu haelodau yn byw.

Yr oedd gan y Bedyddwyr yn 1736, 16 o eglwysi Cymreig, heblaw canghenau, a'r lleoedd yr arferent bregethu ynddynt, a gadael allan yr eglwysi cymmysgedig oeddynt y pryd hyny mewn bodolaeth, y rhai oeddynt o 5 i 8 o gynnulleidfaoedd. Rhoddwn i chwi eu henwau allan o Lythyr Cymmanfa Mynwy, am y flwyddyn 1857: "Olchon, ar derfynau sîr Henffordd; Dolcu a'r Pentrefnewydd, yn sîr Faesyfed; Hengoed, Abertawe, a Phenyfai, yn sîr Forganwg; Rhydwilym, Castellnewydd Emlyn, a'r Felinfoel, yn sîr Gaerfyrddin; Llanwenarth, Blaenau, Penygarn, a Llangwm, yn sîr Fynwy; Moleston a Chilfowyr, yn sîr Benfro; Maesyberllan, yn sîr Frycheiniog." Yr oeddynt wedi cynnyddu mewn 36 mlynedd o wyth neu naw, i un-arbumtheg, er cymmaint o Fedyddwyr y cyfnod hwnw oeddynt wedi ymfudo i America, a ffurfio eu hunain yn eglwysi yno. Gweinyddid yr ordinhadau y pryd hyn yn Llangloffan, Aberduar, Penyeoed, Maesaleg, Casbach, Ffynonhenri, a Ffynongwellnabuwch, ond ar ol hyn, y corffolwyd y cynnulleidfaoedd yma yn eglwysi.

Yr oedd gan y Bedyddwyr yn y cyfnod y soniwn am dano, o 30 i 60 o weinidogion a phregethwyr cynnorthwyol yn Nghymru. Ceir cofrestr o enwau amryw o honynt yn y llythyr cymmanfaol uchod. Enwau y rhai a lafurient yn benaf yn y parthau de-ddwyreiniol o Gymru oeddynt, "Morgan Griffiths, William Meredith, Josiah James, Roger Davies, John Harry, Nathaniel Morgan, Griffith Jones, Morgan Jones, William Davies, Griffith Davies, Lewis Thomas, John Davies, Miles Harris, Caleb Evans, John Evans, Richard Williams, Thomas Lewis, Roger Walker, Nathan Davies," &c.

Yr oedd rhai gwyr cyfrifol, ag o amgylchiadau da yn y byd, yn mhlith aelodau a gwrandawwyr y Bedyddwyr yn y cyfnod hwn. Yn y flwyddyn 1717 yr oedd yn mhlith aelodau a gwrandawwyr eglwys y Blaenau a'i changenau, 123 yn meddu pleidlais yn nhref Fynwy, (*county voters*;) 26 yn meddu pleidlais dros y dref, (*burgesses*;) 98 yn dal tiroedd; 55 yn grefftwyr. (Gwel Hanes y Bedyddwyr, gan J. Thomas.) Nid tlodion a gwehilion y bobl oeddynt y rhai hyn, fel y myn llawer fod y Bedyddwyr yn yr amser hyny, ond dynion yn meddu dylanwad yn y wlad. Darllenwn am wŷr cyfrifol iawn yn aelodau yn Hengoed a Phenyfai mewn tymhor boreuach nâ hyn. Dywedir nad oedd un sîr yn Nghymru a chymmaint o fawrion y byd yn arddel bedydd y crediniol a sîr Forganwg yn y blyneddoedd gynt. (Gwel Hanes y Bedyddwyr, gan J. Thomas.)

Er fod deddf y goddefiad, y *Toleration Act*, wedi ei gwneuthur er ys mwy nag 20 mlynedd y pryd hyn, eto tymhor lled gymmylog oedd ar yr ymneillduwyr trwy y deyrnas tua'r amser yr adeiladwyd Hengoed. Y Frenines Ann oedd ar yr orsedd y pryd hyn, ac yr oedd cyfreithiau wedi eu gwneyd yn 1711 a 1713 gyda bwriad i attal rhyddid crefyddol yr Ymneillduwyr; ond Duw yn ei ragluniaeth ddoeth a da a ragflaenodd hyny, trwy orchymmyn i angau symud y Frenines i'r byd arall, a daeth George y Cyntaf i'r orsedd; felly, fe wasgarwyd y cymmylau, a chafwyd mwy o ryddid i addoli Duw yn ol goleuni cydwybod nag o'r blaen; ac fe fu y Bedyddwyr yn cadw dydd o ddiolchgarwch yn flyneddol am fwy nag 20 mlynedd am y waredigaeth hon.

Meddyliodd eglwys y Blaenau y gallasai hithau yn awr anturio adeiladu capel, yr hyn a wnaeth yn 1715.

Cyn ac ar ol y flwyddyn 1725, yr oedd bedyddio aml yn Hengoed a'r Blaenau. Ychwanegwyd at y ddwy eglwys mewn 2 flynedd tua 80. Yn nechreu y diwygiad hwn, y bedyddiwyd Miles Harris, gweinidog cyntaf eglwys Penygarn, tŷ addoliad yr hon a adeiladwyd yn 1729. Yr oedd y Parch. M. Harris yn "wr rhagorol yn mhlith ei frodyr," a bu yn dra defnyddiol i eangu terfynau yr achos yn ei ddydd. Cafodd y fraint o fedyddio wyth neu naw o bregethwyr enwog. Un hynod am ei garedigrwydd oedd efe. Yr oedd galar mawr yn mhlith y Bedyddwyr yn Neheubarth Cymru yn 1739, oblegid marw yr enwog Enoch Francis, gweinidog Castellnewydd. Yn Abergwaun y traddododd ei bregeth olaf. Ei destun oedd, "Pwy sydd genyf fi yn y nefoedd ond tydi? ac ni ewyllysiais ar y ddaear neb gyda thydi; pallodd fy ngnawd a'm calon, ond nerth fy nghalon a'm rhan yw Duw yn dragywydd." Cymmerwyd ef yn glaf ar y bregeth,

ac yno y bu farw. Wrth Gilfowyr y claddwyd ef. "Rhodiodd Enoch gyda Duw."

> "Gwr duwiol, doniol, a da,
> Llwyr addwyn a llarieidda;
> Gwr Duw oedd ef, gwr di-ddig,
> Arafaidd a diryfyg!"

Yr oedd prinder Biblau yn fawr yn y wlad yr amser hyn: costiai Bibl o gylch y flwyddyn 1741, bunt; ac yr oedd yn anhawdd yn aml i gael un am hyny; ond yn 1746 daeth argraffiad newydd o Lyfr Duw allan yn Nghymraeg, a thrwy haelioni ac offeryngarwch y Dr. Joseph Stennett, yr hwn oedd yn Fedyddiwr, ac yn Gymro o ochr ei fam, cafwyd rhan o'r argraffiad hwn at ddiwallu angenrheidiau y tlodion perthynol i gynnulleidfaoedd y Bedyddwyr yn Nghymru. Danfonwyd 80 o'r Biblau hyn i siroedd Mynwy a Morganwg. Rhoddodd y Dr. Feibl i bob lle y cedwid addoliad rheolaidd ynddo, ac enw y tŷ mewn llythrenau euraidd ar ei glawr.

Yn y flwyddyn 1760, pan oedd capel Hengoed yn 50 oed, ac y pregethodd y bardd a'r pregethwr enwog, y Parch. B. Francis, aelod gwreiddiol o Abertawe, gyntaf mewn cymmanfa, yr hon oedd yn Nghilfowyr, y penderfynwyd argraffu Llythyr y gymmanfa. Nid oedd un llythyr argraffedig i'w gael cyn hyny; felly, ychydig a allwn ni ddweyd am gynnydd yr aelodau yn yr eglwysi yn yr hanner cant cyntaf o oedran Hengoed. Ychwanegwyd atynt 125 yn y flwyddyn 1743; ond am gynnydd yr eglwysi yn y gymmanfa, araf oedd. Yr eglwys gyntaf a ychwanegwyd at y gymmanfa ar ol adeiladu Hengoed oedd Penyfai. Buwyd 22 mlynedd heb dderbyn un eglwys i'r gymmanfa cyn hyny, a buwyd am o 24 i 26 mlynedd ar ol y flwyddyn 1736, na dderbyniwyd ond tair: Aberduar, yn 1742; Llangloffan, yn 1745; Maesaleg, yn 1747. Un deg a chwech oedd rhif yr eglwysi yn 1736, ac un deg ac wyth oedd eu rhif yn 1762. Yr oedd eglwys Llantrisant, Mynwy, wedi darfod yn y tymhor hwn, ac nid oedd ond tair o'r eglwysi hyn eto yn Morganwg. Dechreuodd amryw o wyr ieuainc bregethu yn y blynyddoedd hyn; heblaw y rhai a aethant i lafurio i blith y Saeson yn Lloegr, ac eraill a ymfudasant i America, ordeiniwyd y rhai canlynol yn Nghymru: Evan Thomas, yn Molеston, 1736; Thomas Edwards, yn y Blaenau, yn 1737; William Herbert, yn Maesyberllan, ac Evan Jenkins, yn Mhenygarn, 1738; (symudodd E. Jenkins yn fuan i Wrexham;) John David Nicholas, Rees Jones, a Thomas Davies, yn Nghastellnewydd, yn 1740; Griffith Thomas, yn yr un lle, 1742; Timothy Thomas a John Thomas, yn Aberduar, a John Richards, yn Nghilfowyr, yn 1743; John Evans, yn y Pentref, yn 1745; Caleb Harris, yn Llanwenarth, yn 1746; David Thomas, yn Nghastellnewydd, ac Edmund Watkins, yn y Blaenau, yn 1747; Jonathan Francis, yn Mhenygarn, 1748; yr hwn a weinidogaethai yn Mhenyfai. Josuah Thomas, yn Maesyberllan, Daniel Garmon, David Lewis, a Evan David, yn Llangloffan, yn 1749; Lewis James a Watkin Edward, yn Hengoed, yn 1753; David Jones, yn Wrexham, yn 1755; efe a ddechreuodd yr achos yn Nglynceiriog. John Williams, George Rees, a David Thomas, yn Llangloffan, yn 1758; Morgan Rees a John

Duckfield, yn y Felinfoel, yn 1761. Adeiladwyd amryw o gapelydd newyddion yn y blynyddoedd hyn,—Bethesda, Maesaleg, yn 1742; Blaenywaun, yn 1745; Maesyberllan, yn 1747; Bwlchygwynt, yn 1756; Dolau a'r Bontnewydd, yn 1760; Glynceiriog, yn 1761; Molcston, yn 1763: yr oedd yma eglwys wedi ei chorffoli er ys ugeiniau o flyneddau cyn hyn.

Yn y blyneddoedd cyntaf o'r ail hanner ganfed o oedran Hengoed, yr oedd golwg lewyrchus ar yr achos. Gan fod doniau gweinidogaethol yn amlhau, a lleoedd mwy cyfleus i addoli yn lluosogi, yr oedd y gwaith yn myned yn mlaen yn fuanach; y gwrandawyr yn cynnyddu, ac amryw yn cael eu hychwanegu at yr eglwysi. Wedi penderfynu yn nghymmanfa Cilfowyr i argraffu Llythyr y gymmanfa, penderfynwyd yn y gymmanfa a gynnaliwyd yn y Bontnewydd yn 1762, i roddi hanes cyfnewidiadau yr eglwysi yn y llythyr. Gwrthwynebai amryw o'r hen weinidogion hyny am ei fod yn ymddangos iddynt hwy yn rhy debyg i Dafydd yn rhifo'r bobl, ond boddlonwyd i hyny gael ei wneyd.

Yr oedd diffyg Biblau yn y blyneddoedd hyn eto yn y wlad, yr hyn sydd yn brawf fod crefydd yr amser yma yn enill tir. Er mwyn cael Biblau at wasanaeth eglwys Loegr, cyhoeddwyd argraffiad newydd o "Air y Bywyd" yn 1769, ar draul y "Gymdeithas er taenu gwybodaeth Crist'nogol." Trwy offeryngarwch a haelioni Dr. T. Llewelyn, ac eraill, argraffodd y Gymdeithas dda hon fwy o Fiblau nag a fwriadai ar y dechreu; felly, cafwyd rhai miloedd o'r argraffiad hwn at wasanaeth yr Ymneillduwyr. Rhoddodd Madam Marlow, o Lanllieni, 120 o Fiblau o'r argraffiad presennol i'r Bedyddwyr, i fod yn benaf at wasanaeth eu lleoedd addoliad.

Yn y flwyddyn 1774, ychwanegwyd at yr eglwysi 268. Yr oedd hyn yn fwy nag a ychwanegwyd mewn un flwyddyn erioed o'r blaen. Yr oedd y pryd hyn rai gweinidogion galluog a thra derbyniol yn y wlad yn gyffredin yn ymweled â'r eglwysi, megis, y Parch. David Evans, Dolcu, yr hwn a ordeiniwyd yno yn 1771; y Parch. Maurice Jones, Merthyr, yr hwn a ordeiniwyd yn y Blaenau yn 1773; a'r Parch. David Jones, Pontypwl, yr hwn a ordeiniwyd yr un flwyddyn yn Mhenygarn. Yr oedd hwn yn un o'r pregethwyr mwyaf doniol a phoblogaidd yn ei oes, a bu yn offerynol i ddeffroi yr eglwysi y pryd hyny o'u cysgadrwydd, ac i ddwyn yn mlaen y diwygiad a gymmerodd le ar grefydd yn ei dymhor. Efe, yn y flwyddyn 1790, mewn cysylltiad a'r Parch. P. Williams, a gyhoeddodd Fibl John Cann yn Nghymraeg. Bu farw yn agos i Gastellnewydd Emlyn yn 1792, yn 51 oed. Yr oedd y Parch. M. J. Rhys y flwyddyn hon yn Ffrainc. Wedi clywed am ei farwolaeth, cyfansoddodd Farwnad iddo;* difynwn a ganlyn o honi, am ei fod yn cadarnhau yr hyn a ddywedasom:—

"Gyda Williams gyfaill anwyl,
Ffrind i'r Cymru er ys talm,
Jones ymdrechodd roddi canwyll
Yn eu llaw i bwyntio'r Balm.
Biblau Cann fydd dyst i'w herbyn,
Os gwrthodant wrando'r gwir,

* Cyfansoddwyd y Farwnad hon yn 1792. Y mae hi yn awr yn meddiant Mr. *Thos. Williams*, Penyrheol, un o ddiaconiaid parchus Tabernacl, Pontypwl.

Nid oes meddyg i'r rhai cyndyn,
Sy'n pechu'n erbyn goleu clir.
Ni feddyliais wrth ymadael,
Yn nghymanfa'r dwyrain dir,*
Byddai 'nghoelbren yn yr ardal
Hon, i draethu'r gwir;
Jones a'i delyn yn y bywyd,
Minau yn mhrif ddinas Ffrainc,
Yn pregethu cyfraith rhyddid
Lle mae'r pab a'i orseddfainc.
Jones y llynedd gydai Fiblau,
Yn eu taenu ar hyd y wlad,
Minau, 'leni yn dechreu eu printio,
I'r dyben i'w cyfranu'n rhad
I dlodion Ffrainc fu'n hir yn dwll
Uwch ben crefydd Ladin dlawd,
A'r offeiriaid yn eu twyllo,
I 'ddoli pren yn lle eu Brawd."

Yn y flwyddyn 1776, y dechreuodd gweinidogion y Bedyddwyr yn y Deheudir, deithio drwy y Gogledd i bregethu'r efengyl i'r bobl, a bu llwyddiant mawr ar eu llafur. Dr. T. Llewelyn a gafodd yr anrhydedd i ddechreu y gwaith da hwn eto. Ysgrifenodd lythyrau at y Parch. J. Thomas, a W. Williams, Ysw., Aberteifi, yn y flwyddyn uchod, i'w hyspysu fod awydd ynddo gael cynnorthwyo math o genhadiaeth i Ogledd Cymru. Hyn a roddodd gychwyniad i'r symudiad canmoladwy hwn. Gwel *Hist. of the English Bap.* gan J. Ivimey, tud. 584. Y Parch. D. Evans, Doleu, oedd y cenhadwr cyntaf a ymwelodd â'r Gogledd, ac efe oedd y cyntaf a gafodd yr anrhydedd o weinyddu yr ordinhad o fedydd yn ynys Môn. Enwau y personau a fedyddiwyd ganddo oeddent Robert Williams, a William Edwards. Ei destyn oedd Act xxii. 16, "Cyfod, bedyddier di," &c. Cyflawnwyd y gwasanaeth crefyddol hwn yn nghymydogaeth Llangefni, Ebrill 18, 1779. Gwel Seren Gomer am Fedi, 1855. Erbyn y flwyddyn 1786, yr oedd yno amryw o eglwysi wedi eu corpholi, fel cynnyrch cenhadiaeth Dr. T. Llewellyn. Llangefni a Beaumaris, yn Mon; Roe a'r Garn, yn Arfon; a Ramoth, yn Meirionydd; ac un gymmanfa wedi ei chynal yno yn y Glynceiriog, yn 1779. Yr oedd Dr. Llewellyn yn y gymmanfa hon, a phawb yn ddiameu yn caru ei weled. Yn Llanerchymedd y bu y gymmanfa gyntaf yn Mon, yn 1788; a hon oedd y gyntaf o'n cymmanfaoedd y pregethodd tri ynddi ar yr un daliad. Amcan gwreiddiol y gymmanfa oedd cyfrinachu yn neillduol am y pethau perthynol i achos Crist, ac felly y cynhelid hi hyd y flwyddyn 1703. Yr oedd un bregeth i gael ei thraddodi yn nghymmanfa Llanwenarth y flwyddyn hòno. Yn nghymmanfa Penygarn, 1734, traddodwyd dwy bregeth; yn nghymmanfa Glynceiriog, 1779, pregethodd pedwar o'r brodyr oeddent yn bresennol. Cymmanfa Llanerchymedd, traddodwyd naw o bregethau. Yr oedd y pregethwyr oll yn Ddeheuwyr, a diameu fod pobl Môn yn awyddus am gael eu clywed bob un. Yn nghymmanfa Hengoed, 1791, y ddarllenwn gyntaf am fawl yn cael ei gyflwyno i Dduw mewn llais cân yn ein cymmanfaoedd.† Heblaw yr anwyliaid, J. Thomas, M. Jones, D. Evans, a D. Jones, yr oedd yr enwogion, D. Evans, Maesyberllan; H. Davies, Llangloffan; T. Thomas, Aberduar; J. Reynolds, Felinganol; D. Davies, Felinfoel

* Abertawe. † Gwel "Hanes y Cymmanfaoedd" gan W. Jones.

M. Davies, Pantycelyn; W. Williams, Ysw., Aberteifi, yn flaenoriaid yn y weinidogaeth y pryd hyn, ac yn ffyddlon a diwyd yn eu gwaith. Teithiodd rhai o honynt dair neu bedair gwaith ar ddeg trwy y Gogledd, ac ni bu eu llafur yn ofer yn yr Arglwydd. Hwy oeddent flodau y gymmanfa yn eu hamser. Cof yw genyf glywed fy mam a gwragedd crefyddol eraill yn siarad gyda pharch ac anwyldeb mawr am danynt. Yn 1787, y sefydlodd y Parch. J. Hier, yn Bethesda, Maesaleg, a bu llaw yr Arglwydd gydag ef. Mae nifer yr addoldai a adeiladwyd yn nhymor ei weinidogaeth o fewn cylch maes ei lafur, yn brawf iddo fod yn llafurus ac yn llwyddiannus iawn i helaethu terfynau yr achos goreu. Dechreuodd y Parch. Morgan J. Rhys ar ei weinidogaeth yn Mhenygarn yr un flwyddyn. Aelod gwreiddiol o Hengoed oedd efe. Nid oedd un gweinidog yn y Dywysogaeth y pryd hyny, yn deall egwyddorion anghydffurfiaeth yn fwy trwyadl, ac yn eu cyhoeddi mor hyf ac ëofn ag efe. Gwel "The Welsh Nonconformist Memorial," gan Dr. W Richards. Efe oedd cyhoeddydd y "Cylchgrawn" trimisol a ymddangosodd yn ein byd llenyddol am o gylch blwyddyn a thri mis yn 1793-4. Clywais y diweddar Ddr. J. Jenkins yn dweyd fod y brawd anwyl a dysgedig hwn, "haner cann mlynedd o flaen ei oes." Gorfu arno adael y wlad hon. Yr oedd yn ormod o werin-wladwr i gael aros yma y pryd hyny. Ymfudodd i America, lle y treuliodd weddill ei oes mewn parch mawr. Ymddengys iddo adael y wlad hon yn fuan ar ol iddo, ar gais eglwys y Glyn, gyhoeddi y pregethau a draddododd efe a J. R. Jones, Ramoth, yno, ar neillduad John Edwards a Thomas Jones, yn weinidogion; a Edward Hughes, a John Roberts, yn ddiaconiaid yn yr eglwys hono yn 1794. Yr oedd dysgu ac egwyddori plant yn gorphwys yn ddwys ar ei feddwl. Mewn cysylltiad a'r pregethau uchod, ysgrifenodd "annerchiad difrifol i'r Cymru, i'r dyben i'w hannog i sefydlu Ysgolion Cymraeg at ddysgu y plant tlodion i ddarllen eu Biblau;" a dywedir iddo sefydlu Ysgol Sabbathol yn Hengoed tua'r flwyddyn 1787, dwy flynedd yn foreuach na'r amser y dechreuodd y Parch. T. Charles, sefydlu Ysgolion Sabbathol yn y Gogledd. Rhydd un o ohebwyr parchus y "Greal" ar ddeall i ni, mai Mr. Fox, un o ddiaconiaid eglwys y Bedyddwyr dan ofal y Parch. A. Booth, a ddechreuodd yr Ysgol Sabbathol yn Lloegr. "Yr oedd Mr. Raikes," meddai efe, "yn dysgu ysgrifenu a rhifyddiaeth yn ei ysgolion, pan nad oedd Fox ond yn dysgu darllen y Bibl; gan hyny, y Bedyddwyr yn Nghymru a Lloegr y bia yr anrhydedd o gychwyn yr Ysgol Sul." Sefydlodd Mr. Fox beth bynag, gymdeithas er cynorthwyo yr Ysgolion Sabbathol yn 1785, a gwnaeth hon les mawr.

Yn 1788 yr ymddangosodd yr hybarch Christmas Evans yn y byd crefyddol. Sefydlodd yn Llangefni yn 1790. Gwyddoch, mai "Tywysog a gwr mawr yn Israel" oedd efe. Bu yn llafurus ac yn llwyddiannus iawn yn ei dymor i ddwyn llawer o'i gydgenedl "i'r iawn allan o fagl y diafol." Ychwanegwyd at yr eglwysi yn 1789, bedwar cant a thriugain a phump; yr oedd hyn yn fwy nag a ychwanegwyd mewn un flwyddyn erioed o'r blaen. Yn y flwyddyn hon y bedyddiwyd y clodfawr Thomas Jones, Rhydwilym. Efe oedd y cyntaf erioed a fedyddiwyd yn Llangollen, ond nid y diweddaf. Yr oedd efe yn bregethwr mawr a phoblogaidd, "yn uwch o'i ysgwyddau i fyny na'r

cyffredin o'i frodyr," meddai y Parch. Henry Davies, Llangloffan. Blinwyd ef yn fawr pan yn y Gogledd, yn y blyneddau cyntaf o'i weinidogaeth, gan y cyfeiliornad Sandimanaidd, ond safodd yn wrol a disigl yn ei erbyn, pan oedd pawb o'i frodyr yn y weinidogaeth yn y Gogledd wedi ei gofleidio, a chafodd yr hyfrydwch o ennill y fuddugoliaeth arno. Dywedir iddo roi dyrnod marwol iddo yn nghymmanfa Llangefni, yn 1802, a bod Christmas Evans yn dweyd, "A wyddoch chwi beth, morfil o ddyn ydyw T. Jones." Wedi ei ymadawiad o'r Glyn i Rydwilym yn 1808, dywedai y Parch. J. Elias, "Wele ganwyll y Gogledd wedi ei symud." *

Yn y flwyddyn 1790, yr oedd rhif yr eglwysi yn y gymmanfa yn 46. Wrth weled yr aelodau yn amlhau, a'r eglwysi yn lliosogi, a doniau gweinidogaethol yn ymddangos, penderfynwyd yn y gymmanfa a gynnaliwyd y flwyddyn hon yn y Dolau, er mwyn helaethu achos yr efengyl, a chyfleusdra yr eglwysi, i ranu y gymmanfa yn dair;—un i fod yn y Gogledd, un arall i fod yn y Gorllewin, a'r llall i fod yn y Deddwyreiniol. Yn awr dyma dair cymmanfa yn lle un. 19 o eglwysi oedd yn cyfansoddi y gymmanfa Dde-ddwyreiniol. Nid oedd eto ond naw o eglwysi yn Morganwg, a pherthynai tair o'r rhai hyny y pryd hyn, sef y ddwy yn Abertawe, a'r Engine, i'r gymmanfa Orllewinol. Yn 1791 y derbyniwyd eglwys Seion, Merthyr, i'r gymanfa, ac y mae yn Merthyr a'i chylchoedd yn awr fwy o eglwysi nag oedd yn y sîr 50 mlynedd yn ol. Yn yr un flwyddyn y sefydlodd y Parch. J. Lewis yn Llanwenarth. Yr oedd efe yn ei ddydd yn bregethwr poblogaidd, ac nid llawer yn Nghymru a fu yn fwy llafurus nag ef i helaethu terfynau achos Crist. Nid oedd ond un Llythyr yn perthyn i'r tair cymmanfa ar y cyntaf, ond yn y gymanfa Orllewinol a gynnaliwyd yn y Cwmdu, yn 1793, y penderfynwyd i bob cymmanfa ysgrifenu llythyr iddi ei hun. Blwyddyn gofiadwy ydyw hon; ynddi y dechreuwyd ymddiddan gyntaf mewn cymanfa am annog yr eglwysi i sefydlu Ysgolion Sabbathol, ac o fewn y flwyddyn hon y bedyddiwyd yr hyglod Joseph Harris, a'r doniol Samuel Breeze; yn fuan ar eu hol y bedyddiwyd yr enwogion Titus Lewis, Dr. J. Jenkins, Benjamin Davies, Ffynon, a John James, Penybont. Gwyr oeddynt y rhai hyn "a roisant eu heneidiau dros enw ein Harglwydd Iesu Grist," a bydd eu henwau mewn parch mawr gan genedl y Cymru, "Tra mor tra Brython," fel rhai o'u cymwynaswyr penaf. Ordeiniwyd y Parch. Joshua Watkins yn Nghaerfyrddin, yn 1796. Yr oedd efe yn weinidog ymdrechol, a bu llwyddiant mawr ar ei lafur. Gwelwn David Evans yr 2il, o'r Dolau, yn cymmeryd gofal yr eglwys hóno yn 1798, a John Evans, o'r Nantgwyn, yr un flwyddyn yn dechreu ar ei weinidogaeth yn Mhenygarn. Dywedir nad oedd na bryn na bro nad oedd y Parch. John Evans yn pregethu yr efengyl i'r bobl, a bu yn offeryn i ddechreu eglwysi newyddion, ac i gryfhau y rhai gweiniaid. Dywedai P. A. Mon am dano:

"Ioan ab Ifan heb ofid—cadarn,
Mae'n codi'n mhob pulpid;
Ymladd â'r diawl, ac ymlid,
Mintai'r llew, er maint y llid."

* Gwel Cof. T. Jones, cyhoeddedig gan E. Evans, Dowlais, ac E. Williams, Aberystwyth.

Yn 1800 y bedyddiwyd y Parch. D. Saunders, yr hwn a fu yn weinidog da a llwyddiannus yn Seion, Merthyr, am tua 23 o flyneddau. Yn ei amser ef y corpholwyd eglwys weithgar Caersalem, Dowlais, yr hon sydd wedi bwrw allan ganghenau fel planhigyn. Pregethwr doniol a phoblogaidd oedd y Parch. T. Thomas o'r Nantgwyn. Cymmerodd ef ofal yr eglwys yno o gylch 1801, a bu yn dra llwyddiannus yn y weinidogaeth. Bedyddiwyd John Herring, Aberteifi, a John Jones, Drefnewydd, yn 1804, a daethant fel pregethwyr yn "Gewri Cymru," a chawsant y fraint o fedyddio llawer yn eu tymhor.

Gweinidog o'r un oedran a hwy oedd y Parch. Rees Jones, Seion, Merthyr; yr hwn hefyd a fu yn dra llwyddiannus yn ei gylch. Yr oedd ef yn enedigol o Lanwrtyd.

Yn 1806, y daeth T. R. Davies i fyny o'r dwfr, wedi ei fedyddio yn afon Morgenau, ac y dechreuodd y Parch. Simon James bregethu yn Mlaenyffos. Buont hwythau yn offerynau i achub llawer o eneidiau, ac i adeiliadu amryw o addoldai. Bedyddiwyd yn Nghymru yn 1807, pan y sefydlodd y Bedyddwyr eu Hathrofa yn y Fenni, dan arolygiaeth yr hybarch M. Thomas, 1733; un o'r bedyddiedigion hyn oedd John Edwards, gynt o Ruthin, "yr hwn a fu yn un o feibion y daran drwy gymmanfaoedd Cymru am lawer o flyneddoedd." Dechreuodd y Dr. John Jenkins ar ei weinidogaeth yn Hengoed, yn 1808. Gwyddoch yn well nag y gallwn ni ddweyd i chwi am ei lafur gweinidogaethol a llënyddol ef. Yr oedd ysgrifenu'r "Esboniad ar y Beibl," yn llafur mawr i'w gorff ef, heb son am lafur ei feddwl i'w gyfansoddi.

Yn y flwyddyn 1810, pan oedd capel Hengoed yn gann mlwydd oed, y derbyniwyd eglwys Aberdâr i'r gymmanfa, yr hon sydd yn awr yn un o'r eglwysi mwyaf lluosog, gweithgar, a llewyrchus yn y sîr. Ar Hengoed, yn 1812, y pregethodd y talentog F. Hiley gyntaf mewn cymmanfa. Hon oedd yr unig gymmanfa Gymreig y pregethodd yr enwog a'r llafurus Andrew Fuller ynddi.

Yn y blyneddoedd cyntaf o'r drydedd hanner ganfed o oedran Hengoed, yr oedd rhai o'r sêr dysglaeriaf yn ffurfafen y weinidogaeth yn dechreu llewyrchu ar Gymru. Heblaw y rhai a enwyd eisoes gallwn, yn mhlith ereill, nodi W. Jones, Caerdydd; H. Davies, Llangloffan; J. Edmuuds, a D. Richards, Caerphilli; J. Roberts, Bontfaen; J. H. Davies, J. Michael, Ponthir; D. D. Evans, Pontrhydyryn; J. Evans, Aberhonddu; A. Vaughan, a R. Faulks, Cefnbychan; R. Williams, Ruthin; E. Evans, Cefnmawr; D. Jones, Tongwynlas; R. Edwards, Dinas; W. Lewis, Aberdâr; T. Morris, Casnewydd; J. P. Davies, Tredegar; E. Jones, Casbach; B. Price, &c., &c; y rhai wedi iddynt lewyrchu yn eu bywyd, yn ol eu gwahanol raddau, ydynt yn awr, y rhan fwyaf o honynt, yn "disgleirio fel yr haul yn nheyrnas eu Tad."

Mae mwy o gynnydd wedi bod ar achos y Bedyddwyr yn Nghymru, ac yn neillduol yn sir Forganwg, yn yr hanner cann mlynedd diweddaf o oedran Hengoed, nag a fu yn y cann mlynedd cyntaf. Tair cymmanfa oedd gan y Bedyddwyr yn Nghymru y pryd hyny; yn awr y mae ganddynt wyth. Gwel "Dyddiadur y Bedyddwyr," gan Dr. Davies. Deuddeg o eglwysi oedd gan y Bedyddwyr yn Morganwg y pryd hyny, yn awr y mae ganddynt 97 o eglwysi Cymreig. Un

Athrofa oedd gan y Bedyddwyr yn Nghymru y pryd hyny, yn cynnwys o 4 i 6 o fyfyrwyr; yn awr y mae ganddynt ddwy, yn cynnwys dros 60 o fyfyrwyr gobeithiol i droi allan yn weinidogion da i Iesu Grist: ac un o'r athrofeydd dan ofal Doctor Thomas Thomas, brawd anwyl i ni, a anwyd, a fagwyd, ac a fedyddiwyd yn sîr Forganwg; a'r llall dan ofal y Parch. T. Davies, brawd anwyl arall, a anwyd o ddwfr ac o'r Ysbryd yn sîr Forganwg, ac a fu yn un o weinidogion parchusaf y sîr am o gylch 20 mlynedd.

Nid oedd gan y Bedyddwyr y pryd hyny, un cyhoeddiad llenyddol at eu gwasanaeth. Yn 1818, wyth mlynedd yn ddiweddarach na'r amser y cyfeiriwn ato, yr ymddangosodd y "Seren Gomer," gan yr hybarch Joseph Harris; ond yn awr y mae ganddynt chwech: un yn bythefnosol, pedwar yn fisol, ac un yn chwarterol, a phob un yn ei gylch a'i swydd o wasanaeth mawr i'r enwad. Ni buom erioed o'r blaen mor gyfoethog ein cylchgronau ag ydym yn bresennol. Ein dyledswydd ydyw ymdrechu yn egniol o'u plaid bob un, oblegid y mae ein llwyddiant i fesur mawr yn ymddibynu ar gynnyrchion llënyddol a chrefyddol ein hargraffweisg.

Mae gan y Bedyddwyr yn Nghymru yn awr, bedwar cant a thriugain a saith o eglwysi; o'r nifer hyny, y mae pedwar ugain a dwy-ar-bumtheg yn Morganwg, heblaw pumtheg o ganghenau, a deg o eglwysi Seisnig, nad ydynt mewn undeb â'r gymmanfa. Mae gan y Bedyddwyr yn Nghymru yn awr, chwech cant a thriugain ac un o bregethwyr, rhwng gweinidogion a chynnorthwywyr; o'r nifer hyny, y mae triugain a phump o weinidogion, a phedwar ugain ac wyth o gynnorthwywyr yn Morganwg. Mae gan y Bedyddwyr yn Nghymru yn awr, ddwy a thriugain o filoedd, dau cant, a deugain a chwech o aelodau; o'r nifer hyny y mae pumtheg mil, pedwar cant, a deugain a thri-ar-ddeg yn Morganwg. Mae gan y Bedyddwyr yn Nghymru yn awr, bedwar cant a phedwar ugain a deuddeg o ysgolion Sabbathol, yn cynnwys pedwar ar ddeg a deugain o filoedd, wyth cant ac ugain o ysgolheigion; o'r nifer hyny, y mae cant a deg ar ugain o ysgolion, yn cynnwys pedair mil ar ddeg, tri chant a thri ugain o ysgolheigion yn Morganwg, a mil naw cant a deunaw a deugain o athrawon. Gwel Rhagdraith y Parch. H. W. Hughes i Gofiant y Parch. T. R. Davies, a Llythyr cymmanfa Morganwg am 1860. Dywed y "Gwyliedydd," fod yn Morganwg ei hunan yn awr, fwy o un ar bumtheg ar ugain o eglwysi, nag oedd yn holl Gymru 60 mlynedd yn ol; fod mwy o 12 mil 9 cant o aelodau yn Morganwg ei hunain, nac oedd yn holl Gymru 60 mlynedd yn ol; fod mwy o ddeuddeg mil dau cant ac wyth ar ugain o ysgolheigion Sabbathol yn Morganwg ei hunan, nag oedd yn holl Gymru 60 mlynedd yn ol. Onid ydyw "*y fechan wedi myned yn fil? O'r Arglwydd y daeth hyn. Efe a wnaeth i ni bethau mawrion, am hyny yr ydym yn llawen.*" Mae 32 o frodyr anwyl i ni yn y weinidogaeth wedi marw yn Morganwg, yn yr 50 mlynedd diweddaf; a rhai yn ddiweddar, yn mhlodau eu dyddiau, ac yn nghanol eu defnyddioldeb, megis D. Jones, Caerphilli; J. Phillips, Dinas; D. Jones, Caerdydd; S. Edwards, Rhymni, a J. Jones, Merthyr; (a gorwedd gweddillion C. Evans, a T. R. Davies, dau o weinidogion hynotaf Cymru yr 50 ml. diweddaf yn naear Morganwg;) ond am fod Iesu Grist, y brawd hynaf, yn fyw, mae yr achos nid

yn unig yn fyw, ond yn fwy cryf a llewyrchus nag y bu erioed o'r blaen.

Beth a allasai godi enwad y Bedyddwyr i'w sefyllfa bresenol yn y dywysogaeth, yn ngwyneb fod pawb yn dweyd yn ei erbyn, ac yn ei wrthwynebu, ond y dylanwadau dwyfol, mewn atebiad i weddiau yr eglwys, yn gysylltiedig a'u hymdrechion i bregethu yr efengyl yn ei phurdeb, i sefydlu Ysgolion Sabbathol, i wasgaru'r Ysgrythyrau, ac i godi ein Hathrofeydd i fwy o effeithiolrwydd, nerth, a dylanwad? Gallwn gymmeryd cysur gyda golwg ar y dyfodol: nid ydym yn ol i un enwad yn y Dywysogaeth am offerynau i fyned a'r gwaith yn mlaen. Mae genym weinidogion nad oes arnynt gywilydd o'r efengyl, ac nid oes ar yr efengyl gywilydd o honynt hwythau; llënyddwyr ag sydd yn addurn i'n cenedl; beirdd a safant yn y rhes flaenaf yn mhlith meibion yr awen; byddin o fyfyrwyr ieuainc, fel milwyr ieuangc dan addysg, yn cael eu parotoi i ymladd yn mrwydrau'r gwirionedd; a thair neu bedair o argraffweisg at ein gwasanaeth; ac ond i'n gweithgarwch gyda'r Ysgol Sabbathol, y cyrddau gweddiau, a'n dyledswyddau teuluaidd fod yn gyfatebol i ragoroldeb ein hegwyddorion, a'n manteision, bydd ein llwyddiant yn fuan yn fawr. Deallir ein hegwyddorion yn well, a daw y byd yn gyffredinol i'w parchu a'u cofleidio.

Dylem fod yn ddiolchgar i'r Arglwydd am y llwyddiant mawr sydd wedi dilyn ymdrechion ein hynafiaid yn y cann mlynedd a haner diweddaf. Mae y llwyddiant sydd wedi bod ar achos ein Gwaredwr yn y blyneddau blaenorol yn annogaeth i ninau lynu gyda'r achos, gan gwbl gredu na bydd ein llafur ninau yn ofer. Llwyddo a wnaeth llafur ein tadau, a llwyddo y mae ein llafur ninau; a llwyddo a wna'r efengyl eto; oblegid y mae yn rhaid i'r Iesu deyrnasu, hyd oni osodir ei holl elynion yn droedfainc i'w draed. Am hyny, fy mrodyr anwyl, "byddwch sicr a diymod, a helaethion yn wastad yn ngwaith yr Arglwydd, a chwi yn gwybod nad yw eich llafur yn ofer yn yr Arglwydd."

---

## ANNERCHIAD III.

### AR ATHRAWIAETH A GWEINIDOGAETH Y BEDYDDWYR YN GYFFREDINOL, GYDA CHYFEIRIAD NEILLDUOL AT FORGANWG.

### Gan y Parch. JOHN EVANS, Abercanaid.

---

PAN dderbyniais y testun hwn teimlais bryder yn fy meddwl, heb allu boddlonu fy hun yn llawn beth a ddysgwylid i mi ddywedyd oddiwrtho; oblegid gwyddwn nad oedd fy mrodyr anwyl yn Hengoed yn chwennych i mi dreulio dim amser yn ofer, nac i ddywedyd dim

heb fod dyben idd ei ateb, mewn cyfarfod cyhoeddus, ar ddydd fel hwn, ag oeddent wedi ei neillduo i gydnabod daioni Duw tuag atynt fel eglwys er ys cant a haner o flyneddau.

Mae y testun yn cymmeryd yn ganiataol fod athrawiaeth a gweinidogaeth y Bedyddwyr yn eu gwahaniaethu oddiwrth ereill, yr hyn sydd yn weddus i mi ei gadw mewn cof a'i egluro yn fy annerchiad. Yn awr, rhaid cofio fod mwy nag un dosparth o Fedyddwyr; dywedir fod chwech neu saith dosparth o Fedyddwyr yn America, yn gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd mewn rhai pyngciau athrawiaethol neu ymarferol crefydd. Yn ein gwlad ni, mae dau ddosparth a elwir Bedyddwyr *Cyffredinol* a Bedyddwyr *Neillduol;* er nad oes, trwy wybod i mi, un eglwys yn awr yn Nghymru yn galw eu hunain yn Fedyddwyr Cyffredinol. Ond mor bell ag yr wyf fi yn deall, nid yw yr oll o'r dosparthiadau hyn yn gwahaniaethu dim oddiwrth eu gilydd yn yr hyn sydd yn eu hynodi fel Bedyddwyr. Rhoddwyd yr enw Ail-fedyddwyr iddynt yn gynnar ar y Cyfandir, ac wedi hyny yn Lloegr, gan eu gelynion, i'w dirmygu, am eu bod yn bedyddio, ar broffes o'u ffydd ac ar eu dymuniad personol, y rhai oeddent wedi eu bedyddio neu wedi taenellu arnynt yn eu mabandod, heb ffydd ac heb eu cydsyniad eu hunain. Pa bryd y dechreuwyd eu gwahaniaethu fel cyfenwad wrth yr enw Bedyddwyr, nid yw yn sicr; tybiai Mr. Benedict, yr hwn a ysgrifenodd hanes helaeth o Fedyddwyr America, iddo gael ei ddewis ganddynt hwy eu hunain mewn cyferbyniad i Ail-fedyddwyr. Beth bynnag am yr enw, ni fyddai ond peth hawdd i brofi fod yr oll o'r eglwysi Crist'nogol cyntaf, y rhai y darllenwn ni am danynt yn y Testament Newydd, o'r un cyfansoddiad ag eglwysi y Bedyddwyr yn yr oes hon: yr oedd yr oll o'r aelodau wedi eu claddu gyda Christ yn y bedydd; ac oll wedi eu bedyddio yn un corph yn Nghrist Iesu; a'u swyddogion oeddent esgobion a diaconiaid. Gan hyny, nid pan yr adeiladwyd yr addoldy hwn ar Gefn Hengoed, y corpholwyd yr eglwys gyntaf o Fedyddwyr.

Ond i sylwi ar *athrawiaeth* a *gweinidogaeth* y Bedyddwyr yn *gyffredinol.* Cymmerir yn ganiatâol fod y gair athrawiaeth yn y testun yn golygu yr hyn a bregethir ac a gredir yn eu plith; a'r gair gweinidogaeth yn golygu eu trefn o weinyddu yr ordinhadau, y ddysgyblaeth, a'r llywodraeth a sefydlodd Crist, yn ol eu golygiadau hwy, yn ei eglwys. Nid yw y Bedyddwyr yn ystyried fod ganddynt hwy, na neb arall, hawl i drefnu na chyfnewid dim ar y drefn a sefydlwyd gan Fab Duw ei hun, ond ei dysgu a'i gweinyddu, fel y mae wedi ei datguddio i ni yn Ngair y gwirionedd. Nid trefnu, ond credu ac ufuddhau, sydd yn perthyn i ni. Mae yn wir fod gwahanol bleidiau o Ymneillduwyr yn cydsynied â'r Bedyddwyr yn eu golygiadau o barth amrai o byngciau ffydd yr efengyl, megys am berson Crist, ei fod yn Dduw ac yn ddyn; am ddyben ei farw, yn aberth dros ein pechodau; am arfaeth Duw, galwadau yr efengyl, a gwaith yr Ysbryd, &c.; er hyny, mae egwyddorion y Bedyddwyr yn *gyffredinol* yn eu gwahaniaethu oddiwrth bawb ereill a hônant yr enw Crist'nogion: nid yn unig oddiwrth y pabyddion, ac eglwys wladol Lloegr, eithr hefyd oddiwrth y rhai a elwir yn Ymneillduwyr Protestanaidd. Edrycha y Bedyddwyr ar eglwys Crist yn y byd yn gyfansoddiedig o rai etholedig, galwedig, a ffyddlon, a neb arall; a'i llywodraeth ynddi ei

hunan. Yn ngolwg y Bedyddwyr, mae crefydd yn fater personol. Nid ydynt yn gofyn i neb i grefydda, nac i gynnal crefydd o'u hanfodd, ac ni dderbyniant neb i'w plith ond gwirfoddiaid. Mae eu hegwyddorion yn myned o dan wraidd crefydd wladol, taenelliad mabanod, a phob gorfodiaeth grefyddol. Nis goddef eu hegwyddorion i'r Bedyddwyr fod yn erlidwyr; ac nid yw yn un rhan o'u gweinidogaeth i farnu cyflyrau na chydwybodau ereill. "Duw ei hun sydd Farnwr." Gwadant hawl ynadon gwladol i fod yn arglwyddi ar y gydwybod, neu i gyfryngu rhwng dyn a'i Dduw. Ac felly mae y Bedyddwyr yn mhob oes a gwlad wedi bod yn bleidwyr cyson i ryddid gwladol a chrefyddol. Y gwir yw, nas gall y Bedyddwyr lwyddo, bodoli, nac anadlu, ond yn awyrgylch rhyddid. Ac nid oes neb wedi ymdrechu mwy, os cymmaint, dros ryddid crefydd, yn ystyr lawnaf y gair, a hwy: ac am hyny, mae eu herledigaeth a'u dyoddefiadau wedi bod yn helaethach. Darfu i gannoedd o honynt yn y ddau gannrif diweddaf, ffoi o'r wlad hon i America, i fwynhau yr hyn ag oedd llywodraeth Lloegr ar y pryd yn gadw oddiwrthynt. Ac nid oes neb a elwir yn Grist'nogion, oddigerth y Crynwyr, yn ymarfer rhyddid grefyddol yn gyflawn a chyson, ond y Bedyddwyr. Nis gall neb fod yn aelod gyda hwy ond o'i ddewisiad ei hunan. Athrawiaeth neillduol y Bedyddwyr yw, fod ffydd yn angenrheidiol i fedydd, ac ufudd-dod i fedydd yn angenrheidiol i aelodiaeth yn yr eglwys; nid oes neb i fod yn aelod heb fedydd, na bedydd heb ffydd; yna mae ffydd a bedydd yn angenrheidiol i aelodiaeth. Yn ol athrawiaeth y Bedyddwyr, mae yr efengyl yn weinidogaeth i alw dynion at Iesu Grist. Mae dau beth ynddi, iechawdwriaeth a dyledswydd; gras penarglwyddiaethol yn achub, a chyfrifoldeb i Dduw am ein manteision. Dau beth yn ffurfio cyfrifoliaeth, rheswm o'n tu ni ac awdurdod o du Duw. Mae yr efengyl yn ymwneyd a phob dyn yn ol ei gymmeriad. A nodweddiadau moesol, y fath ag mae yr efengyl yn ofyn, sydd yn rhoddi hawl aelodiaeth yn yr eglwys ar y ddaear, ac hefyd i'r nef a'i gogoniant yr ochr draw. Dyma dalfyriad o athrawiaeth y Bedyddwyr yn *gyffredinol.*

Bedyddwyr *Neillduol* yr ydym ni yn cael ein galw, neu felly yr ydym yn dewis galw ein hunain, mewn cyferbyniad i'r Bedyddwyr Cyffredinol. A diau na ddysgwylir i mi roddi yma dalfyriad o'n cyffes ffydd,—yr hyn a gredwn, a ddysgwn, ac a ymarferwn fel cyfenwad; mae hyn mor adnabyddus yn yr oes hon, fel na fyddai ond llafur ofer. Y prif wahaniaeth sydd rhyngom â'r Bedyddwyr Cyffredinol ydyw, ein bod yn credu ac yn pregethu, fod Duw wedi ethol personau yn Nghrist er tragywyddoldeb i iechawdwriaeth; fod dylanwad yr Ysbryd Glân yn angenrheidiol i aileni pechadur; fod y brynedigaeth yn neillduol trwy waed Crist; fod cyfiawnhad yn rhad trwy ffydd; a bod y saint yn parhau mewn gras hyd y diwedd; yr hyn maent hwy yn ei wadu. Ymddengys fod y Bedyddwyr fel corph o bobl yn Nghymru, o'r dechreu hyd yma, wedi ymlynu wrth yr athrawiaeth o *rad ras*, gan osod haeddiant angeu y groes yn unig yn sail gobaith am ddiangfa i bechadur; fod gwahoddiadau yr efengyl i bawb, ond ei haddewidion i'r rhai sydd yn credu, ac yn ufuddhau i'r gwirionedd. Pregethent fod dyn wrth natur yn llygredig a phechadurus, ac heb ei aileni, ei gyfnewid trwy ras, neu ei fywhau tuag at Dduw; ei fod yn anghymhwys i gymundeb y saint ar y ddaear, nac i fwynhau dedwyddwch y

nefoedd; fod Duw yn gorphen y gwaith da yn y rhai yr oedd yn ei ddechreu; a bod dedwyddwch y cyfiawn a chosp y drygionus yn dragywyddol. Fod colledigaeth dyn o herwydd ei bechodau ei hun, ond ei gadwedigaeth o herwydd cariad a daioni Duw, yn ol yr efengyl. Dyn i'w feio am esgeuluso ei iechawdwriaeth, a Duw i gael yr holl glod oddiwrth achubiaeth y rhai a gedwir. Ac felly mae y corph o Fedyddwyr Neillduol yn Nghymru, hyd yma, wedi bod yn llwyddiannus i hwylio llestr eu gweinidogaeth heb fyned yn llongdrylliad yn erbyn y creigiau o Antinomiaeth ar un llaw, neu Arminiaeth ar y llaw arall.

Nid wyf yn gwybod am reol well i ddeall beth oedd athrawiaeth y Bedyddwyr yn yr amser gynt, er pan sefydlwyd yr eglwys gyntaf yn Olchon, hyd ddechruad yr oes hon, nâ darllen eu hanes gan Joshua Thomas, eu cyffes ffydd, llythyron eu cymmanfa; "Y *Gair* yn ei *Bryd*," "*Y Wisg wen Ddisglaer*," ac ychydig o lyfrau ereill a gyhoeddwyd ac a gymmeradwywyd ganddynt; yn nghyd a hanes bywydau y gweinidogion penaf a fuont yn blaenori yn ein plith. Ac wrth farnu yn ol y rheol hon, mae yn eglur fod y corph o Fedyddwyr, fel y cyfryw, o ran athrawiaeth, yr hyn a elwir yn Galfinaidd yn y *pum' pwngc*. Darfu i'r ymdrechol Fafasor Powel gyhoeddi cyffes ffydd mewn 30 o erthyglau; yr hon a gynnwysai nid yn unig ei syniadau ei hun, ond ffydd a dysgyblaeth eglwysi y Bedyddwyr yn ei amser ef. A'r neb a ddarlleno hanes ei fywyd, a'r llyfr a elwir, "*The Bird in the Cage*," gwelant ei fod yn ei athrawiaeth yn Galfinaidd, yn cyfyngu bedydd i'r credinwyr, yn ymarfer arddodiad dwylaw ar y bedyddiedig; dros ordeinio henuriaid yn mhob eglwys, a chanu mawl yn gyhoeddus,—er ei fod ef ei hun yn foddlon goddef y difedydd i gydgymuno. Ond pan ffurfiwyd undeb cymmanfaol gyntaf cyn yr erledigaeth, nid oedd un eglwys gymysg o fewn cylch yr undeb hwnw; nac un gymysg yn cael ei goddef mewn undeb cymmanfaol â'r Bedyddwyr Cymreig o hyny hyd yn awr. Yr athrawiaeth hon hefyd oedd eiddo Mr. John Myles, gweinidog cyntaf eglwys Ilston, yr hwn oedd yn blaenori y Bedyddwyr digymysg yn Nghymru nes ei fynediad i America. A gellir enwi Mr. D. Davies, gweinidog cyntaf Llanharan, a Mr. Wm. Jones, gweinidog cyntaf Rhydwilim, fel y mae y gyffes ffydd sydd yn hen lyfr yr eglwys hòno yn profi, &c. O'r flwyddyn 1689, mae y Bedyddwyr Neillduol trwy Gymru, yn proffesu ymlyniad wrth y gyffes ffydd a elwir cyffes ffydd Llundain, y cydunwyd arni yn y flwyddyn hòno. (Gwel Hanes Bywyd Dr. Jenkins, tu dalen 89.) Bu undeb cymmanfaol yr eglwysi o'r dechreu yn ddefnyddiol iawn er diogeli, nid yn unig unoliaeth mewn ffydd a threfn, eithr hefyd athrawiaeth iachus a dysgybliaeth bur yn mysg Bedyddwyr y dywysogaeth. Nid oedd un eglwys yn cael ei derbyn i'r undeb heb gael gyffes ffydd oddiwrthi; ac os byddai rhyw anghydfod yn ymgyfodi, byddai yn cael ei ddwyn i sylw y gymmanfa, lle y byddai gweinidogion a chenadon yr eglwysi yn cydymgynghori a'u gilydd, a phob gwreiddyn chwerw hyd y gallent yn cael ei gadw o'u plith. Pan yr ymddangosodd Arminiaeth gyntaf yn Nghymru, safodd y Bedyddwyr yn ei herbyn. Yn y flwyddyn 1729, bu yn destun sylw mewn cymmanfa yn Llangloffan, pryd y cydunwyd i ailargraffu Egwyddoreg Mr. Keach, a thraethawd Elisieus Cole ar Benarglwyddiaeth Duw, a'u taenu trwy

yr eglwysi: ac yn y flwyddyn 1733, cefnogwyd yr enwog Enoch Francis i gyhoeddi y "Gair yn ei Bryd." Ac wrth ddarllen y llyfrau hyn, gellir gweled beth oedd athrawiaeth a chredo Bedyddwyr Cymru yn yr amser hwnw. Yn y flwyddyn 1745, cydunwyd i gadw cyfarfod wrth bont Llandysyl, a chael pump gweinidog i bregethu ar y pum pwngc mewn dadl. Parhaodd y cwrdd hwn ddau ddiwrnod. Y dydd cyntaf dechreuwyd yn foreu; gweddiodd pedwar o'r aelodau, a dau o'r gweinidogion ar eu hol. Yna pregethodd Mr. Timothy Thomas ar y pwngc cyntaf,—*pechod gwreiddiol*, Rhuf. v. 19 ; a Mr. Evan Thomas, Moleston, ar *etholedigaeth bersonol*, Rhuf. xi. 7. Ac yn y prydnawn, Mr. Morgan Harry, o'r Blaenau, ar *brynedigaeth neillduol*, Rhuf. viii. 33, 34. Dranoeth, pregethodd Mr. Thomas Edwards, Llanwenarth, ar *alwedigaeth effeithiol*, a Mr. David Thomas, Cilfowyr, ar *barhad mewn gras*. Nis gwn beth oedd testunau y ddau olaf. Hanes Bed. 391. Mae yn amlwg fod y cyfarfod hwn yn bwysig, gan fod cynnifer o frodyr mor bell o ffordd, o wahanol fanau, wedi dyfod iddo: ac yn brawf eu bod yn teimlo sel dros wirionedd gwahanol gangenau yr athrawiaeth a amddiffynid ganddynt. Pan yr ymddangosodd dadl Sabeliaeth yn Nghymru, safodd y Bedyddwyr yn ei herbyn. Gwel llythyr cymmanfa Pen-y-parc, 1802, yr hwn a ysgrifenwyd gan yr hybarch Christmas Evans. Fod tri pherson gogyfuwch yn y Duwdod, sef y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân. Ac er fod y Bedyddwyr, fel cyfenwad, wedi sefyll yn wrol dros eu ffydd a'u harferiadau neillduol, eto nid ydynt wedi bod felly ar draul ymwrthod a rydd-ymofyniad am y gwirionedd yn ol Gair Duw. Nid oeddent ac nid ydynt yn ystyried eu cyffes ffydd yn lle yr Ysgrythyrau. Ar lythyr y gymmanfa am 1797, wedi datgan eu credo, a'u hymlyniad wrth eu cyffes ffydd fel arferol, gwelir yr ychwanegiad hyn, "*Ond etto yr ydym yn dal mai yr Ysgrythyrau yw y rheol gyflawn ac anffaeledig.*" Ac yn Hanes y Cymmanfaoedd, cawn fod nifer liosog o ofyniadau oddiwrth yr eglwysi a phersonau yn cael sylw y gweinidogion a'r cenhadon yn eu cynnadleddau, y rhai a berthynent yn benaf i'r athrawiaeth neu ddysgyblaeth yn eu plith; yr hyn a brawf eu hawydd i ddeall ewyllys eu Harglwydd trwy ddilyn rheol yr apostol, "Profwch bob peth, deliwch yr hyn sydd dda."

Mae y Bedyddwyr Neillduol yn Nghymru, yn eu gweinidogaeth a'u hysgrifeniadau, wedi bod yr amser aeth heibio yn ymdrechol iawn i ddarostwng pechodau yr oes, ac i wrthsefyll llygredigaeth a chyfeiliornadau yn mysg y bobl; fel o'r tu arall, i amddiffyn y gwirionedd, gras a sancteiddrwydd yr efengyl; gan gredu fod Duw yn ymhyfrydu mwy yn ufudd-dod a sancteiddrwydd ei bobl nag yn eu rhifedi: Ioan xv. 8. Yn y flwyddyn 1656, cyhoeddwyd llyfr Saisnaeg bychan, yr hwn a elwid "Meddyginiaeth yn erbyn gwenwyn yr amseroedd." Dywedir iddo gael ei osod allan trwy drefniad henuriaid a chenadon yr amryw eglwysi, o Ilston, Fenni, Tredynog, Caerfyrddin, Henffordd, Bodorddyn, Clydach, a Llangors, wedi cyfarfod yn Aberhonddu y 29 a'r 30 o'r 5 mis, 1656.

Dywedir gan Joshua Thomas, "Fod yr eglwysi yr amser hyn, yn cael llawer o flinder trwy amryw lygredigaethau a chyfeiliornadau ag oeddent o'u hamgylch, ac amcan y llyfr uchod oedd eu rhybyddio a'u hyfforddi." Yr oedd dylanwad y *Book of Sports*, yr hwn a

gyhoeddwyd trwy awdurdod Freninol, yn nghyd ag esiamplau boneddigion a cherigwyr, &c., wedi llanw ein gwlad a thorwyr Sabbath, puteinwyr, meddwon, tyngwyr, cablwyr, ac ymladdwyr, &c. Gwel Henafiaethau, gan y Parch. W. Roberts, 107. A dyma y gwenwyn y gwnaeth y Bedyddwyr ymdrech i feddyginiaethu y wlad oddiwrtho, trwy ddysgu i'r bobl foesoldeb a chrefydd.

Yr oedd hyn cyn amser y Trefnyddion Calfinaidd na Wesleyaidd, hanes y rhai sydd mor adnabyddus; a dylent gael pob anrhydedd sydd yn perthyn iddynt fel enwadau crefyddol; pan ar yr un pryd, y gellir cymwyso y geiriau hyny atynt, "Ereill a llafuriasant, a chwithau a ddaethoch i mewn i'w llafur hwynt."

Bu yr ymosodiadau hefyd a wnawd ar y Bedyddwyr yr amser gynt, yn gyfle ac yn achlysur iddynt i amddiffyn eu henwad, ac i wneuthur eu hegwyddorion yn fwy hysbys i'r bobl; fel rhai blodau a llysiau, pa fwyaf eu sethrir rhoddant eu harogl yn fwy llawn a pheraidd. Felly y bu yn y Fenni, tua 1653, pan wnaeth Mr. John Cragg, A.M., ei ymosodiad ar y Bedyddwyr, ac i Mr John Tombs eu hamddiffyn mewn dadl gyhoeddus. Bedyddiwyd dros 40 y flwyddyn hono, y rhai a chwanegwyd at yr eglwys. Bu dadl hefyd yn agos i Rhydwilym; rhoddaf yr hanes fel ei hysgrifenwyd gan y Parch. D. Peter, yn Han. Cref. &c. 598. "Fel ag yr oedd y Bedyddwyr yn cynnyddu y pryd hyn yn y rhan orllewinol o Gymru, bu llawer o ddadleuon rhyngddynt a bedyddwyr plant. Oddiamgylch i'r flwyddyn hon (1691), cytunodd y ddwy blaid i bregethu ar y pwnc o fedydd, yn Mhenylan, yn agos i'r Frenin Fawr. Mr. John Thomas, Llwyn-y-grawys, a bregethodd gyntaf dros fedydd plant; a phregethodd Mr. John Jenkins, gweinidog Rhydwilym, ddiwrnod ar ol hyny, dros fedydd crediniol. Mewn canlyniad i'r cyfarfod hwn, llawer o aelodau Mr. Thomas a unasant a'r Bedyddwyr." Yn y flwyddyn, 1732, o herwydd llwyddiant y Bedyddwyr yn swydd Fynwy, ysgrifenodd Mr. Fowler Walker yn eu herbyn, yr hwn a atebwyd gan Mr. D. Rees, aelod gwreiddiol o Hengoed; ond nid atebwyd llyfr Mr. Rees byth. A gellir dywedyd, y pethau hyn a ddigwyddodd yn hytrach er llwyddiant i'r Bedyddwyr. Ni fu y Bedyddwyr o'r dechreuad yn Nghymru, heb fod yn eu plith rai dynion dysgedig, deallus, a chadarn yn yr Ysgrythyrau. Ni fu doniau yn uwch yn mysg un cyfenwad nag yn mysg y Bedyddwyr, na llafur neb yn helaethach nag eiddo y Bedyddwyr. Yn niwedd y ganrhif ddiweddaf a dechreu hon, darfu iddynt gyfranogu yn helaeth o'r hwyliau crefyddol, a dylanwadau yr Ysbryd, yr awelon nefol a grymus ag oedd yn anadl bywyd i'r esgyrn sychion. Ac er fod y weinidogaeth yn mysg y Bedyddwyr yn sefydlog, fel ag yr oedd trefn eu heglwysi yn annibynol; etto, darfu i lawer o'u gweinidogion da, yn yr amser gynt, deithio llawer trwy ddehau a gogledd yn holl siroedd Cymru, a hyny ar draul llawer o wawd, a dirmyg, ac erledigaeth, i bregethu efengyl Duw yn rhad idd eu cydgenedl; ac y mae effeithiau eu llafur yn aros, ac yn dwyn ffrwyth hyd y dydd heddyw.

Nid wyf am i'r darllenydd ddeall oddiwrth yr hyn a ddywedais, y golygwyf fod yr oll o weinidogion y Bedyddwyr yn yr amser gynt, yn ddynion dysgedig; diau i rai fod yn wir ddefnyddiol yn eu plith, fel pregethwyr a gweinidogion, heb fwynhau llawer o fanteision dysgeid-

iaeth; y rhai oeddent wedi gwneuthur Gair Duw yn brif destun eu myfyrdod a'u gweinidogaeth. Fel y canlyn yr ysgrifenai yr hanesydd enwog Joshua Thomas: "Y drefn fwyaf gyffredinol yn mhlith y Bedyddwyr yn Nghymru yw hyn: pan byddo argoel obeithiol fod doniau gweinidogaethol yn rhai o'u haelodau ieuaingc, neu rai mwy oedranus, y maent yn annog y cyfryw i arfer eu dawn yn yr eglwys. Wedi bod fel hyn ar brawf ryw amser, os byddir yn barnu eu bod yn debyg i fod yn ddefnyddiol, y maent yn rhoi galwad iddynt i bregethu. Mae y rhai hyn yn dygwydd bod o amryw amgylchiadau; rhai o honynt wedi cael dysg o'r blaen mewn ysgolion cyffredin y wlad, heb ddim golwg tuag at y weinidogaeth; ereill heb gael ond ychydig ddysg. Barn gyffredin y Bedyddwyr yn Nghymru yw, mai rhodd Duw yn unig yw gras a dawn gweinidogaethol: ac mai fel yr oedd Duw, yn amser yr apostolion, yn galw rhai dysgedig, a rhai heb lawer o ddysgeidiaeth, i waith y weinidogaeth, felly mae yn gweled yn dda gwneyd hyd heddyw. Bydd rhai o honynt yn myned i'r ysgol, er mwyn dysgu ychwaneg, wedi dechreu pregethu; ac ereill dan amgylchiadau nad allant fyned; a rai nad ydynt yn dewis myned. Bu yn Nghymru lawer o weinidogion enwog, heb fod erioed mewn prif ysgol wedi dechreu pregethu; megis Mr. Lewis Thomas o'r Mŵr; Mr. Morgan Jones, a'i fab, Mr. Griffith Jones, Mr. Samuel John, Mr. Morgan Griffiths, Mr. John Jenkins, Mr. Thomas Mathias, Mr. Enoch Francis, Mr. Henry Gregory, Mr. David Thomas, o Gilfowyr, &c. O honynt, yr oedd rhai yn *ddysgedig*, a rai heb lawer o ddysg mewn ysgolion." Han. Bed. tud. 64. Nid oedd hefyd ond ychydig o weinidogion yn mysg Bedyddwyr Cymru yr amser gynt yn alluog i fyw yn hollol wrth y weinidogaeth, heb fod ganddynt rhyw fasnach neu gelfyddyd i'w cynnorthwyo. Nid wyf yn beio yr eglwysi am hyn, os oeddent yn rhy wan i'w cynnal; er hyny, dylai yr eglwysi gofio fod yr Arglwydd wedi *ordeinio* i'r rhai sydd yn pregethu yr efengyl fyw wrth yr efengyl; ac heb hyny, pa fodd y gallant lafurio yn y gair a'r athrawiaeth, neu barhau mewn gweddiau a gweinidogaeth y gair. Er pan sefydlwyd yr Athrofaoedd sydd yn perthyn i'n henwad, mae gweinidogion ieuaingc yn cael mwy o fanteision dysgeidiaeth, a'r eglwysi yn y cyffredin yn fwy ffyddlon i gynnal y weinidogaeth.

O barth athrawiaeth a gweinidogaeth y Bedyddwyr Neillduol yn Morganwg, yr oedd ac y mae yr hyn ag ydoedd eiddo y Bedyddwyr yn mhob man arall o'r Dywysogaeth. Ond wrth gofio mai Ilston, a'r eglwys a ymgyfarfu wedi hyny yn Hengoed, ac Olchon, oeddent y tair eglwys ag oeddent yn ffurfio y Gymmanfa gyntaf o Fedyddwyr yn Nghymru, y mae un peth yn eglur, fod yr eglwysi hyn yn benderfynol yn erbyn cymundeb cymysg; yn pregethu ac yn credu yr athrawiaeth o râd ras; ac yn arfer arddodiad dwylaw ar y bedyddiedig. Ac mor bell ag yr oedd cymundeb cymysg yn perthyn i'r pwngc, yn gwahaniaethu oddiwrth y rhai a sefydlwyd gan Mr. Fafasor Powel cyn yr erledigaeth. Yn y flwyddyn 1710, aeth rhaw o'r aelodau i'r America, a 'chawsant lythyr wedi ei arwyddo gan 14 o'r brodyr dros yr eglwys, yr hwn sydd yn dechreu fel hyn; "Eglwys Iesu Grist sydd yn cyfarfod yn Abertawe (gynt Ilston), yn arddel bedydd y crediniol ac arddodiad dwylaw, a'r athrawiaeth o

etholedigaeth bersonol, a pharhad hyd y diwedd," &c. Cangen o'r un gwreiddyn ydoedd eglwys Hengoed ac Ilston, a'r un o ran syniadau a threfn, yr hon sydd wedi parhau o'r dechreuad yn ei chymundeb yn ddigymysg; ac wedi ymlynu wrth yr arferiad o arddodiad dwylaw; ac wrth yr athrawiaeth o ras penarglwyddiaethol yn achub; ac yn cyrhaeddyd o'r arfaeth i ogoniant. Ac yn ei hanes, ceir fod yr eglwys, o barch i'r gwirionedd, wedi gwrthod rhai o herwydd eu Harminiaeth, ac ereill am eu Hantinomiaeth. Dichon i weinidogion fod yn perthyn i'n henwad yn Morganwg, yn gwahaniaethu yn fawr yn helaethrwydd eu llafur a'u defnyddioldeb; eu dull o gyfansoddi a thraddodi eu pregethau; a chymmeriad eu gweinidogaeth yn amrywio, heb fod un gwahaniaeth sylweddol yn eu hathrawiaeth na'u trefn. Gellir edrych arnynt yn gydweithwyr Duw ac yn berarogl i Grist.

Mae yn wir hefyd, fod rhai o weinidogion enwocaf y Bedyddwyr yn Morganwg, fel mewn rhanau ereill o Gymru, yn yr oes ddiweddaf, yn gwahaniaethu yn eu golygiadau am natur a helaethrwydd iawn Crist dros bechod, a'r modd yr oedd penarglwyddiaeth Duw yn gweithredu er ein iachawdwriaeth, a hyny yn amlwg weithiau yn eu pregethau. Gwel dadl Ffwleriaeth, yn Hanes Bywyd Dr. Jenkins, tud. 92. Ond nid oedd neb o honynt yn dadlu fod iachawdwriaeth i bechadur heb iawn, na bod yr iawn yn ddigon mawr ac effeithiol i achub y rhai oedd yn gwrthod yr efengyl; ac o'r tu arall, nid oedd neb o'r rhai a gyfyngent yr iawn i wrthddrychau neillduol, yn dadlu nad oedd yn ddigon i gadw pwy bynag a gredo ynddo ef. Yr un wedd nid oedd neb yn dadlu fod yr arfaeth yn cadw neb yn groes i'r efengyl; nac yn colli neb mae yr efengyl yn gadw. Yr oeddent oll yn cyduno yn hyn, ac yn cydymgyfarfod yn *nghommissiwn* eu Harglwydd, "Ewch i'r holl fyd a phregethwch yr efengyl i bob creadur. Y neb a gredo ac a fedyddier a fydd cadwedig; eithr y neb ni chredo a gondemnir." Marc xvi. 15, 16.

Ac yr wyf yn dra hyderus, mai Bedyddwyr o ran athrawiaeth a threfn, fel yn yr oes apostolaidd, fydd yr oll o Gristionogion cyn diwedd y byd;—pan dywallter yr ysbryd ar bob cnawd, pan ddaw y gwylwyr i weled lygad yn llygad, pan adferir gwefus bur i athrawon y bobl, pan y bydd enw yr Iesu yn un o godiad hyd fachludiad haul. Y pryd hwnw bydd un corph, un Ysbryd, un gobaith, un Arglwydd, un ffydd, un bedydd, un Duw a Thad oll. Eph. iv. 4, 6.

Un sylw wrth derfynu. Peth o bwys, fy mrodyr a'm chwiorydd, yw, ein bod ni mewn cymmeriad a buchedd yn cyfateb i'r athrawiaeth a broffeswn. Anfantais fyddai i gymmeriad yr aelodau fod yn îs na safon yr athrawiaeth. A gwn na ddymmunai un Cristion ddarostwng safon yr athrawiaeth i gyfateb i lygredigaeth neb pwy bynag; am hyny ymddyrchafwn mewn cymmeriad, ymestynwn at berffeithrwydd. Cofiwn gynghor yr Apostol, "Gwisgwch am danoch yr Arglwydd Iesu Grist, ac na wnewch ragddarbod dros y cnawd; cyfrifwch eich hunain yn feirw i bechod; eithr yn fyw i Dduw yn Nghrist Iesu ein Harglwydd." AMEN.

# ANNERCHIAD IV.

SEF, CRYBWYLLION AT DDEFNYDDIOLDEB RHAGORACH YR EGLWYS A'R ENWAD YN YR AMSER DYFODOL.

## Gan y Parch. THOMAS PRICE, Aberdar.

---

PSALM XLVIII. 12, 14.

"*Amgylchwch Seion, ac ewch o'i hamgylch hi; rhifwch ei thyrau hi. Canys y Duw hwn yw ein Duw ni byth ac yn dragywydd: efe a'n tywys ni hyd angau.*"

UN o'r cydmariaethau trwy ba un y mae yr Ysbryd Glân yn gosod allan sefyllfa yr eglwys yn y byd hwn, a gymerir oddiwrth arferiadau milwraidd gwahanol oesoedd y byd. Mae Dafydd yn yr wythfed Salm a deugain, yn sylwi ar yr eglwys o dan y gydmariaeth hon, pan yn ein gwahodd i amgylchu Seion, a rhifo ei thyrau, ac ystyried ei hamgaerau hi. Paul, pan yn ysgrifenu at yr Ephesiaid, pen vi. 13, a ddywedai, "Am hyny, cymerwch attoch holl arfogaeth Duw, fel y gallwch sefyll yn y dydd drwg; ac wedi gorphen pob peth sefyll." Ac wrth y Corinthiaid, ail epistol, x. 4, 5, y dywedai, "Canys arfau ein milwriaeth ni nid ydynt gnawdol, ond nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll i'r llawr; gan fwrw dychymmygion i lawr, a phob uchder ag sydd yn ymgodi yn erbyn gwybodaeth Duw, a chan gaethiwo pob meddwl i ufudd-dod Crist." Tra y dywedai wrth Timotheus am "brofi ei hun yn filwr da i Iesu Grist." Yn llyfr y Datguddiad, xvii. 14, darlunir Crist mewn rhyfel a phenau coronog Europ, "Y rhai hyn a ryfelant â'r Oen, a'r Oen a'i gorchfyga hwynt, oblegid Arglwydd arglwyddi ydyw, Brenin brenhinoedd; a'r rhai sydd gydag ef sydd alwedig, etholedig, a ffyddlon."

Mae y darluniad a rydd Dafydd o'r eglwys yn rhoddi golwg ddaublyg arni—mae o fewn ei hamddiffynfa yn cael ei diogelu gan ei thyrau a'i rhagfuriau, tra y mae hefyd i fod yn barod i gael ei thywys gan Dduw yn erbyn pob gelyn i Grist a'i deyrnas ar y ddaear.

Mae y ddau ddrychfeddwl hyn bob amser yn gysylltiedig ag amddiffynfa—rhaid ar y naill law, fod yn barod i amddiffyn y safle; ac, ar y llaw arall, fod yr un mor barod i wneyd ymosodiad ar y gelynion.

Ac wrth wneyd dau neu dri o grybwyllion, er cyfarwyddyd i'r eglwys a'r enwad i weithredu yn ol llaw, bydd i ni gadw ein golwg ar y ddau feddylddrych sydd gan Dafydd yn y Salm dan sylw.

I. YR EGLWYS MEWN AGWEDD AMDDIFFYNOL.

II. YR EGLWYS MEWN AGWEDD YMOSODOL.

### *I. Yr Eglwys* mewn agwedd amddiffynol.

1*af. Rhaid iddi feithrin golygiadau priodol am hawliau ei Brenin, a'i rhwymedigaethau i dalu ufudd-dod llwyr i'w holl orchymynion.*

Byddai absenoldeb y pethau hyn yn ddigon i greu annhrefn yn yr amddiffynfa gadarnaf o dan y nef.

Mae Seion i wneyd hyn trwy amddiffyn yn ffyddlon a diwyrni yr "athrawiaeth a draddodwyd unwaith i'r saint."

(1.) Mae yn ddyledswydd ar y Bedyddwyr Crediniol i amddiffyn yr athrawiaethau mawrion a phwysig a gredir ac a broffesir gan fwyafrif mawr o Brotestaniaid Ewrop ac America—nid am eu bod yn cael eu proffesu gan Brotestaniaid fel y cyfryw, ond am eu bod wedi eu dadguddio a'u gorchymyn yn Ngair y Gwirionedd.

Mae yn achos o lawenydd i ni fod y Bedyddwyr wedi credu, dal, ac amddiffyn y rhai hyn cyn bod y gair "Protestant" wedi ei gysylltu a chrefydd yn Ewrop. Mae yn achos o ddiolchgarwch i ni yn awr, tra mae arferiadau Pabyddol mewn bri mawr yn rhai eglwysi Protestanaidd, a golygiadau dyeithriol yn cael eu dadblygu yn rhai pwlpudau Ymneillduol, fod y Bedyddwyr yn para yn ffyddlon i bregethu yr hen athrawiaethau mawrion a bendigedig a ddechreuwyd eu cyhoeddi gan Fab Duw a'i Apostolion. Mae yn amlwg y dydd heddyw nad oes yr un cyfenwad crefyddol yn y bydysawd yn dal athrawiaethau y Testament Newydd yn fwy cadarn, ac yn eu cyhoeddi yn fwy pur, nâ'r Bedyddwyr. Yma ynte, frodyr anwyl, glynwn yn ein proffes.

(2.) Mae yn gorphwys ar y Bedyddwyr, mewn modd arbenig, i amddiffyn, yn eu cyfanrwydd a'u purdeb, arferiadau yr eglwys Apostolaidd.

Mae yn llawn mor bwysig i'r eglwys i wylio y rhagfuriau a rhifo y tyrau. Rhaid gofalu am y rhagfur sydd yn gwahaniaethu yr eglwys oddiwrth y byd.

(a.) Yr oedd yr eglwys yn oes yr Apostolion yn cael ei chyfansoddi yn hollol o bersonau yn proffesu edifeirwch tuag at Dduw a ffydd yn Nghrist, fel unig a digonol Geidwad i'r penaf o bechaduriaid. Nid oedd ffydd y rhieni yn rhoddi hawl i'r lleill o'r teulu i ddyfod yn aelodau eglwysig, na phroffes y brenin yn gwneyd ei ddeiliaid yn Gristionogion; crefydd bersonol yn unig oedd yn bwysau yn mantol sylfaenwyr Cristionogaeth.

(b) Yr oedd ufudd-dod personol, gwirfoddol, a chariadlawn i fedydd, yn cael ei gysylltu a chredu, yn amod iachawdwriaeth, ac yn sylfaen i aelodaeth eglwysig, yn nyddiau yr Apostolion. Nid oes genym gymmaint ag un engraifft, na chysgod o engraifft, o gymmaint ag un person yn cael ei dderbyn at fwrdd yr Arglwydd, heb ei fod yn gyntaf wedi gwneyd proffes o edifeirwch tuag at Dduw, ffydd yn Nghrist, a thalu ufudd-dod personol i fedydd y Testament Newydd. Am yr oes apostolaidd a'r ddwy ganrif wedi hyny, yr oedd bedydd yn amgaer i'r eglwys—yn amddiffynfa i Seion—yn linell wahânnedol rhwng y byd a'r deyrnas nad oedd o'r byd hwn. Mae hyn yn hollol amlwg oddiwrth holl rediad y Testament Newydd. Mae Crist, ar sail ei awdurdod gyffredinol fel Brenin Seion, yn gorchymyn i'r eglwys fyned a dysgyblu yr holl genedloedd, a'u bedyddio hwy, y disgyblion, i enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân. "Ewch a phregethwch yr efengyl i bob creadur, a'r neb a gredo ac a fedyddier a fydd cadwedig, ond y neb ni chredo a gondemnir," er ei fedyddio. Mae ymddygiad yr Apostolion

yn sefydliad yr eglwys gyntaf wedi esgyniad Crist i'r nef, yn engraifft deg o'r modd y deallasant hwy feddwl eu Harglwydd yn y commisiwn. Pregethasant yr efengyl ar ddydd y Pentecost, yr Ysbryd Glân a ddwysbigodd galonau lawer, ac mewn atebiad i ymholiad difrifol y bobl, Pedr a orchymynodd,—"Edifarhewch a bedyddier *pob un* o honoch yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau." "Yna y rhai a dderbyniasant ei air ef yn ewyllysgar a fedyddiwyd." "Ac yr oeddent yn parhau yn athrawiaeth ac yn nghymdeithas yr Apostolion, ac yn tori bara, ac mewn gweddiau." "A'r Arglwydd a ychwanegodd beunydd at yr eglwys y rhai a fyddent gadwedig." Yma, ynte, y cawn gynllun teg o eglwys Apostolaidd—un yn cael ei gwneyd i fyny yn hollol ac yn gyfangwbl o'r edifeiriol, y crediniol, a'r bedyddiedig. A dyma gynllun pob eglwys y sonir am dani yn y Testament Newydd. Yr oedd aelodau Eglwys Rhufain yn nyddiau Paul yn "alwedigion Iesu Grist—yn anwyl gan Dduw, wedi eu galw i fod yn saint—eu ffydd yn gyhoeddus yn yr holl fyd—wedi eu bedyddio i Grist Iesu—wedi eu claddu gydag ef trwy fedydd i farwolaeth—ac yn rhodio mewn newydd-deb buchedd. Nid oes modd camsynied y cymmeriadau hyn. Am y Corinthiaid fe ddywedir yn llyfr yr Act. xviii. 8: "A llawer o'r Corinthiaid wrth wrando, a gredasant, ac a fedyddiwyd." Ac am yr eglwys yn Corinth, mae Paul yn ei chyfarch yn ei lythyr cyntaf fel "Eglwys Dduw, yr hon sydd yn Nghrist Iesu, a alwyd yn saint." Yma, etto, mae y darluniad yn ddigon eglur. Ysgrifena Paul ei lythyr at eglwys Ephesus, gan ei galw, "Y saint sydd yn Ephesus a'r ffyddloniaid yn Nghrist Iesu." Eglwys y Colosiaid a elwir gan Paul yn ei lythyr, "Y saint a'r ffyddlon frodyr yn Nghrist;" diolchai am eu "ffydd yn Nghrist a'u cariad tuag at yr holl saint;" a dywed yn mhellach eu bod "wedi eu cydgladdu gyda Christ yn y bedydd, a'u cydgyfodi trwy ffydd gweithrediad Duw." Am eglwys y Galatiaid, mae Paul yn ein sicrhau eu "bod oll yn blant i Dduw trwy ffydd yn Nghrist Iesu, eu bod wedi eu bedyddio yn Nghrist, ac wedi gwisgo Crist." Dyna y darluniadau a gawn o Eglwys Gristionogol yn oes yr Apostolion. Ond taflwn olwg ar eglwysi gwladol Ewrop, o'r fam yn Rhufain, trwy Genefa, Prussia, Scotland, i Loegr; maent un ac oll wedi dinystrio y rhagfuriau hyn trwy ddwyn i'r eglwys blant yn eu mabandod,—cymeriadau nad oes galwad arnynt i edifarhau, cymeriadau nas gallent gredu, a chymeriadau nad oedd ganddynt un dewisiad yn eu bedyddiad.

Mae yr holl enwadau crefyddol, pa un ai yn yr Eglwys Sefydledig neu Ymneillduedig, tra yn taenellu ar fabanod, yn cynnorthwyo y Pabyddion i ddistrywio rhagfur yr eglwys, trwy ei wneyd yn gydwastad â'r llawr,—trwy dderbyn mabanod i'r eglwys heb fod ganddynt yr un o'r cymhwysderau a ofynid gan yr Apostolion oddiwrth bob ymgeisydd am aelodiaeth eglwysig. Er mor wrthun a gwrthfeiblaidd yr ymddengys y peth i ni, etto mae yn ffaith fod dynion blaenaf y Wesleyaid, y Methodistiaid, a'r Independiaid, am i'r byd gredu eu bod hwy, trwy y ddefod ddynol o daenelliad, yn dwyn y plant i'r eglwys, ac yn rhoddi hawl i freintiau tŷ Dduw ar y ddaear. Heb roddi yr ystyr hyn i daenelliad dwfr ar fabanod, nis gall fod o un dyben ond i ychwanegu cyfrifoldeb y cyfryw ag ydynt yn rhyfygu newid y bedydd Dwyfol, *a gosod defod* ddynol yn ei le.

Mae y rhyddgymunwyr hefyd yn euog o dynu i lawr ragfuriau Seion, trwy dderbyn dynion i aelodaeth eglwysig heb eu bedyddio. Mae y rhai hyn dipyn yn dyner wrth agor y bylchau. Nid pob un a gaiff ddyfod at fwrdd yr Arglwydd ganddynt. Maent hwy yn ffyddlon derbyn ffydd heb fedydd, tra mae y taenellwyr yn rhoddi bedydd heb ffydd. Dywedant wrthym ei fod yn frawdol i wneyd hyn; ac, er nad yw y dyn wedi ei fedyddio, ond am ei fod ef yn barnu hyny, y dylai ar dir brawdgarwch, gael derbyniad at fwrdd yr Arglwydd. Nid wyf yn gwybod pwy a roddodd iddynt y ddysgeidiaeth hon. Gwn mai nid Beibl. Nid y Cristionogion yn yr oes Apostolaidd. Dylem gofio mai nid barn y dyn hwn neu y dyn draw yw ein rheol ni i grefydda, ond Gair y Gwirionedd. Nid rhyw rith o frawdgarwch a ddylai ein llywodraethu, ond y gorchymyn dwyfol; ac ni ddylem aberthu gwirionedd Duw ar allor cariad brawdol.

Yn awr, anwyl frodyr, ein dyledswydd arbenig ni fel Bedyddwyr, yw cadw at y rheol Ddwyfol—amddiffyn y rhagfuriau. Mae ein tadau wedi gwneyd hyn o oes yr Apostolion hyd heddyw; y ni fel cyfenwad yn unig sydd yn gwneyd hyn yn awr. Na fydded i ni gan hyny, laesu dwylaw gyda y gwaith pwysig o ddal i fyny i olwg y byd egwyddorion mawrion a phwysig yr eglwys tra yn ei phurdeb cyntefig.

Os bydd i Fedyddwyr yr oes hon i brofi yn ddifater, i laesu dwylaw—ymddwyn yn anffyddlon at y gwirionedd, a'r rheidrwydd am grefydd bersonol, ac ufudd-dod i fedydd fel seiliau am aelodiaeth eglwysig, bydd i eglwysi gwladol Ewrop, a chytenwadau taenellyddol y wlad hon, yn cael eu cynnorthwyo gan Fedyddwyr llac Lloegr, lwyddo i wneyd y fath fylchau yn rhagfur Seion, fel ag i ddwyn yr eglwys a'r byd yn gydwastad a'u gilydd. Yna bydded i ni fod yn effro, ar ein gwyliadwriaeth—amgylchynwn Seion, rhifwn ei thyrau, ystyriwn ei rhagfuriau, gofalwn fod ei golygiadau a'i harferiadau yn awr y fath ag oeddent yn nyddiau yr Apostolion.

2. *Dylai yr eglwys ofalu na byddo dim o fewn yr amddiffynfa o duedd i rwystro ei gweithrediadau crefyddol.*

Mae yn hyfrydwch i rodio bwrdd llong rhyfel, neu wahanol ranau o amddiffynfa drefnus, i ganfod y ddysgybliaeth, y drefn, a'r parodrwydd sydd yno i gyfarfod unrhyw elyn; er hyny, mewn adeg o dawelwch mae rhai pethau yn crynhoi gydag amser, ag ydynt yn fwy ar y ffordd nâ dim arall. Yna ar adegau pwysig, clywn lais clir, clochaidd, ac awdurdodol yn gwaeddi, *Clear for action*, hyny yw, symuder pob peth a ddichon fod yn rhwystr—mae y gelyn gerllaw. Mae rhai o'n heglwysi yn cadw gormod o nwyfau tramor, a byddai yn fendith fawr eu symud oddiar y ffordd.

1. *Enwi plant gan weinidogion y Bedyddwyr.*

Nid yw hyn ond math o *sham* o daenellu—rhyw ymdebygiaeth gwan i'r rhai sydd yn cadw yn fwy gonest at y cyfeiliornad mawr Pabyddol, o daenellu dwfr ar blant er eu Cristioneiddio.

Mae yn achos o ddiolchgarwch fod yr arferiad hwn yn myned i lawr yn fawr iawn. Ymaith ag ef yn llwyr, gan nas gall fod geneu neu ddwylaw glân i ddadlu yn erbyn y cyfeiliornad mwy, tra y cadwn y darlun bach hwn o hono.

2. *Gweddio gyda y meirw.*

Golygwyf yma y gwylnosau a'r cyrddau gweddi mewn tai lle y bydd corph marw yn gorwedd, a hyny *am* fod yno gorph marw. Arferiad hollol babyddol yw hwn, ac yn y Pabyddion mae yn ddeall-adwy. Mae y Pabydd yn hyn, fel wrth daenellu ar ei blant, yn gyson a'i gredo; ond ynom ni byddai y naill mor babyddol a'r llall, heb un-rhyw reswm drosto, ond ein bod yn dal i fyny freichiau Pabyddiaeth yn y wlad—ac ar yr un pryd yn twyllo y byw, trwy roddi clogyn crefyddol ar farwolaeth eu perthynasau annuwiol. Mae yn llawn bryd i'r arferiad hwn hefyd gael myned i'r wadd ac i'r ystlymod.

Dylem ni roddi i'r efengyl ei safle priodol—a rhoddi i weinidogion y gair eu gwaith priodol—ni ddylem lwytho yr efengyl a phethau na feddyliodd Duw iddi eu dwyn.

Bydded i'r eglwys ymddatod oddiwrth rwymau ei gwddf—gosoded am ei thraed ei sandalau—gwisged ei hardd wisgoedd—cyfoded i fyny a chymered ei safle priodol fel priodasferch yr Oen. Cofied mai trwyddi hi y mae y byd i'w ddarostwng, ac nis gall ymladd heb gael ei dwy-law yn rhydd. Iaith Crist yn awr yw, *Clear for action*,—iaith y proph-wydoliaethau yw, *Clear for action*,—iaith arwyddion yr amserau yw, *Clear for action*. Mae y byd yn ymagor o flaen yr eglwys—eled Seion i fyny, a chymered feddiant o'r tir. Ni a awn yn mlaen i sylwi yn

II. Ar yr Eglwys mewn agwedd ymosodol.

Er ymosod, mae yn rhaid i'r gwarchodlu *(garrison)* gael arfau ac offerynau gwahanol i'r hyn ag oedd yn ofynol i amddiffyn y tyrau a'r amgaerau. Mae yr Arglwydd wedi rhoddi yn llaw Seion foddion—arfau ac offerynau—iawn ddefnydd o ba rai, o dan fendith yr Ysbryd Glân, a ddwg y byd mewn ufudd-dod wrth draed Crist Iesu.
Yn mhlith ereill ni a nodwn yn

1. *Yr Areithfa.*

Mae Duw wedi ordeinio mai trwy ffolineb pregethu y byddai iddo ddwyn bendithion lawer i'r byd. Mae yn achos o lawenydd an-rhaethol genym weled, yn y dyddiau hyn, gynifer o ddynion ieuaingc yn ymroddi i'r weinidogaeth efengylaidd. Mae yn destun diolch fod yn awr o 50 i 60 o Fyfyrwyr yn Ysgolion y proffwydi yn Mhont-y-pwl a Hwlffordd, er eu cymhwyso yn well i sefyll ar amgaerau Seion, ac i arwain yr eglwys yn erbyn y gelyn. Mae yr Arglwydd wedi ordeinio i'r Areithfa gael y lle blaenaf yn nychweliad y byd at draed yr Iesu. Y Ceidwad, yn nyddiau ei gnawd, a ddywedai fod y cyn-hauaf yn fawr; ceisiwn gan yr eglwys i atolygu Arglwydd y cynhauaf i anfon gweision i'w gynhauaf. Gorchymynodd i'r eglwys wneyd dys-gyblion o'r holl genedloedd, a phregethu yr efengyl i bob creadur; a dywedir yn mhellach, y bydd i'r efengyl gael ei phregethu trwy yr holl fyd er tystiolaeth i'r holl genedloedd.

Gocheled yr eglwys wneyd yr Areithfa yn rhy ffurfiol a gorsyth. Mae gormod o awydd am gael y ddwy bregeth bob dydd Sul o dan bob amgylchiad. Ai nid gwell fyddai weithiau i'r eglwys fawr luosog gael cwrdd gweddi yn y boreu, a gadael i'r gweinidog fyned i gynorthwyo yr eglwys wan rhyw dair neu bedair milldir oddiwrthi? A fyddai ddim yn fanteisiol ar brydiau i weinidog y naill eglwys i newid â gweinidog

eglwys arall? A fyddai taith achlysurol i ymweled ag eglwysi pellenig ddim yn llesiol? Credwyf y gallai y pethau hyn, mewn cymmedroldeb, ychwanegu at nerth a dylanwad yr Areithfa, ac hefyd y gallai fod yn adeiladaeth i'r eglwysi ac yn fendith i'r digred.

2. *Yr Ysgol Sabbathol.*

Dyma fagwyryd yr eglwys—yma mae ei gwirfoddiaid yn cael eu magu—oddiyma mae eu rhesi yn cael eu cyflenwi. Mae yr Ysgol Sul wedi bod ac yn bod o wasanaeth mawr i'r eglwys yn ei hymosodiadau yn erbyn y gelyn.

Dylai yr eglwys, fel y cyfryw, gymmeryd yr Ysgol yn fwy o dan ei nawdd nag y mae wedi ei wneyd hyd yn hyn. Mae yr Ysgol yn rhy aml yn cael ei gadael i rhyw rai yn ein heglwysi, pan y dylai yr eglwys oll gymeryd ei rhan gyda y sefydliad daionus hwn. Mae llawer rhy fach o Ysgolion Sul yn perthyn i ni fel Cymanfa. Yn lle 130, dylai fod genym 200 o leiaf yn perthyn i Gymanfa Morganwg. Dylai fod Ysgol Sul yn agos yn mhob pentref yn y sîr, ac felly yn mhob sîr trwy y deyrnas.

3. *Cymdeithasau Cynorthwyol.*

Yn mhlith y rhai hyn gallwn enwi,—

(1.) Y Genadiaeth Dramor.
(2.) Y Genadiaeth Artrefol.
(3.) Y Genadiaeth Wyddelig.
(4.) Y Gymdeithas Gyfieithiadol.

Mae y pedair hyn yn perthyn i'r enwad trwy y deyrnas,—maent yn hawlio ein sylw, ein cydymdeimlad, a'n cefnogaeth. Y rhai hyn yw y gwarchodlu rhagflaenol, y *vanguard*, yr eglwys yn ei hymosodiadau ar gestyll cedyrn y gelyn yn mharthau pellenig y byd.

4. *Cymdeithasau cynorthwyol lleol.*

Mae gan rai o'n heglwysi lawer o'r rhai hyn, megis Clybiau Dyngarol, Ariandai i blant, Cymdeithasau i bobl ieuaingc, Ysgolion Nosol, gwahanol ddosparthiadau er hyfforddi y gwyr ieuaingc. Mae y rhai hyn oll o'r pwys mwyaf i Seion fel arfau ymosodol. Trwy eu defnyddio gyda doethineb, profant o anrhaethol gynorthwy i fyddinoedd Iesu.

4. *Cyfraniadau at Grefydd.*

Dyma ran bwysig o arfau ymosodol yr eglwys.

Mae pob ceiniog a gyfrenir at helaethiad teyrnas y Gwaredwr, yn ergyd i deyrnas y gelyn. Yma mae genym le i ddiwygio llawer, nid cymaint yn y swm ag yn y dull o gyfranu.

Yn awr ni gawn adael y cyfraniadau at gynal y weinidogaeth sefydlog, treulion cyffredin yr achos gartref, yn gystal a dyledion ein tai cyrddau ein hunain, i bob eglwys wneyd fel y barno hi yn fwyaf manteisiol. Ond am ein cyfraniadau at ddyledion tai cyrddau a gymmeradwyir gan y Gymanfa,—y Cenadiaethau Tramor, Cartrefol, Gwyddelig, Cyfieithiad y Bibl, ein Hathrofeydd, ac achosion achlysurol; credwn y gallwn gyfnewid ein dull o gyfranu gyda mantais i'r eglwysi, a mantais i'r rhai y bwriedir eu cynnorthwyo.

Er gweled hyn, ni a gymerwn fel esiampl Gymanfa y Bedyddwyr yn Morganwg. Cyfyngwn ein hunain at yr eglwysi hyny sydd yn y Gymanfa Gymreig. Mae yma 97 o eglwysi, a 13 o ganghenau. Mae

yn yr eglwysi hyn 15,453 o aelodau. Yn ystod y flwyddyn ddiweddaf yr oedd ein cyfraniadau rhyddion at yr achosion a enwyd yn cyrhaedd y swm o £929 5c. Wele eu dosraniad fel hyn:—

| | £ | s. | c. |
|---|---|---|---|
| Y Genadiaeth Dramor | 313 | 15 | 8½ |
| Y Genadiaeth Artrefol | 60 | 0 | 0 |
| Y Genadiaeth Wyddelig | 24 | 9 | 0 |
| Y Ddwy Athrofa | 200 | 3 | 10½ |
| Capeli wedi eu cymeradwyo gan y Gymanfa | 240 | 0 | 0 |
| Gwahanol drauliau y Gymanfa | 90 | 11 | 10 |
| | £929 | 0 | 5 |

Mae hyn yn swm mawr iawn o arian; ond credwn y gallwn wneyd mwy na hyn, gyda llai o drafferth i ni ein hunain, a llai o draul i'r cymdeithasau, trwy weithio yn drefnus, gweithio yn gyson, a gweithio i gyd.

Byddai ceiniog yn y mis oddiwrth bob aelod yn weddol ysgafn at yr achosion a nodwyd, ond cyrhaeddai y swm o £782 17s. 5c. At hyn gallwn yn gyfiawn ychwanegu y symiau a gyfrenir yn awr uwchlaw ceiniog yn y mis, yn gystal a thanysgrifiadau ereill at yr achosion hyn. Gwna y rhai hyn gyda eu gilydd o leiaf £782 17s. 5c. arall; neu gyfanswm o £1565 14s. 10c.

Meddyliem fod y Gymanfa yn penodi Pwyllgor Cyllidol *(Financial Committee)* i drafod yr arian hyn, gallai drosglwyddo y symiau hyn at yr achosion canlynol:

| | £ | s. | c. | | £ | s. | c. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Y Genadiaeth Dramor | 500 | 0 | 0 | yn lle | 313 | 15 | 8½ |
| Y Genadiaeth Artrefol | 150 | 0 | 0 | „ | 60 | 0 | 0 |
| Y Genadiaeth Wyddelig | 30 | 0 | 0 | „ | 24 | 9 | 0 |
| At y Cyfieithiadau | 50 | 0 | 0 | „ | 0 | 0 | 0 |
| Y Ddwy Athrofa | 300 | 0 | 0 | „ | 200 | 3 | 10½ |
| At Gapeli dyeithrol | 300 | 0 | 0 | „ | 240 | 0 | 0 |
| Y Gymanfa | 120 | 0 | 0 | „ | 90 | 11 | 10 |
| Achosion achlysurol | 100 | 0 | 0 | „ | 0 | 0 | 0 |
| Yn gwneyd cyfanswm o | £1550 | 0 | 0 | „ | £929 | 0 | 5 |
| A bydd yn weddill gan y Pwyllgor at gyfarfod a digwyddiadau | £15 | 14 | 10 | „ | 0 | 0 | 0 |

Byddai cynllun fel hwn yn arbed treulion ac anghyfleusderau gweinidogion yn gadael eu heglwysi er casglu at eu capeli. Arbedai dreulion y *deputations* dros ein cymdeithasau cenadol; arbedai dreulion, anghysur, a'r golled fawr ar amser i'n myfyrwyr, y rhai yn awr a dreuliant bedwar mis ar hyd y wlad yn casglu; arbedai hefyd dreulion lawer i'r eglwysi eu hunain; tra y byddai yn dysgu pob eglwys i weithio gartref yn rheolaidd, cyson, a ffyddlon dros Grist, heb ymddibynu ar gael eu symbylu gan ddyeithriaid er eu dwyn at eu gwaith.

*5. Y Wasg.*

Mae yn ffaith fod y wasg yn beiriant nerthol yn erbyn neu dros yr eglwys, fel y bydd yn cael ei lywyddu gan law gelyn neu gyfaill.

Mae yn achos o ofid genyf er ys blyneddau fod y Bedyddwyr fel enwad yn gwneyd llawer llai o ddefnydd o'r wasg nag a ddylent. Maent yn Lloegr i raddau pell iawn, yn rhoddi eu nerth, eu talent, eu dylanwad, a'u harian, i gefnogi a chynnorthwyo y wasg yn nwylaw enwadau ereill. Ac hyd y nod gan wasg y Bedyddwyr eu hunain, nid yw egwyddorion y Bedyddwyr yn cael eu dadblygu ond yn anaml. Y

Fath anghysondeb yw meddwl nas gall Bedyddiwr ysgrifenu llythyr ar fedydd a chymundeb yr eglwys i'r *Baptist Magazine* a'r *Freeman*, heb gelu a llindagu ei egwyddorion, neu gael ei wrthod. Yn wir, gydag un eithriad neu ddau,* mae holl Gyfnodolion y Bedyddwyr yn Lloegr yn cau allan bob dadl ar fedydd a chymundeb yr eglwys. Mae hyn, yn fy marn i, yn drosedd yn erbyn Crist a'i ordinhadau.

Mae yn wahanol i hyn yn Nghymru. Mae Bedyddwyr Cymru, yn ol eu rhif, yn gwneyd mwy nâ deg cymaint o ddefnydd o'r wasg ag yw Bedyddwyr Lloegr. Mae gan y Bedyddwyr Cymreig yn agos gynifer o fisolion ag sydd gan ein brodyr yn Lloegr, er nad yw poblogaeth Cymru ond yn gyfartal i boblogaeth un sir yn Lloegr, gan fod *Yorkshire* yn fwy nâ Chymru oll.

Mae y wasg yn nwylaw y Bedyddwyr Cymreig yn anfeidrol fwy gonest tuag at egwyddorion y Bedyddwyr nâ'r wasg yn Lloegr. Mae holl gyhoeddiadau Cymreig y Bedyddwyr yn barod i ddal ac amddiffyn egwyddorion cyntefig yr eglwys Apostolaidd mewn barn ac ymarferiad.

Ein gwendid ni yn Nghymru yw, ein bod yn rhanedig yn ein hymdrechion gyda y wasg. Mae ein nerth yn cael ei wasgaru yn lle ei grynhoi.

Mi a garwn yn fawr weled yr enwad yn cymeryd y wasg o dan ei nawdd; yn cyduno ar nifer o gyhoeddiadau at wasanaeth yr enwad; y cyfryw i gael eu dwyn allan o dan nawdd a gallu Pwyllgor Llenyddol (*Literary Committee*). Credwyf y byddai hyn yn sicrhau cydweithrediad, cydymdrech, a llwyddiant i'n Cyhoeddiadau. Byddai ymddiried yr eglwysi yn cael ei enill, ein llenyddiaeth ar sylfaen ddyogel, ac elw oddiwrth ein llafur at rhyw achosion teilwng yn ein cyfundeb.

At ein Cyfnodolion misol, gallem hefyd gael llyfr Hymnau a llyfr Tonau i'r enwad, yn gystal a chael Newyddiadur wythnosol, yn hollol at wasanaeth y Bedyddwyr yn Nghymru. Byddai hyn yn sicr o fod yn fanteisiol iawn er lledaeniad yr egwyddorion a goleddir genym.

Dyma rai o arfau ymosodol Seion. Yn awr, sylw byr yn

6. *Y modd i'w defnyddio er bod yn llwyddiannus.*

Mae dwy neu dair o elfenau yn angenrheidiol o'n tu ni, er sicrhau ein llwyddiant yn ein hymosodiadau ar diriogaeth y gelyn.

(1.) *Mae unoliaeth yn bwysig.*

Heb undeb mewn eglwys unigol, nis gall lwyddo; heb undeb cymanfaol, nis gall fod graen crefyddol ar y gymanfa hóno. Ac nid gormod dysgwyl oddiwrth yr holl eglwysi a gynnrychiolir yn y gymanfa, gydweithrediad calonog, er dwyn i ymarferiad benderfyniadau a fabwysiadir er gogoniant Duw a helaethiad yr achos goreu.

Byddai, i'm tyb i, yn wir lesiol i gael undeb o holl gymanfaoedd Cymru, i gyfarfod o leiaf bob tair blynedd, er siarad a chydymgynghori ar faterion pwysig perthynol i deyrnas yr Immanuel.

(2.) *Yn onest a ffyddlon.*

Dylem fod yn ffyddlon a gonest tuag at bawb nad yw yn cyflawn ddilyn yr Oen.

* The Primitive Church Magazine, and the Earthen Vessel.

(a.) **Dangoswn** i'r pagan tlawd mai ei ddyledswydd yw taflu eulunod i'r wadd ac i'r ystlymod, a derbyn Crist yn Geidwad i' enaid.

(b.) Ymdrechwn ddarbwyllo canlynwyr y Gau Brophwyd a'r D Pechod, mai digon yw yr amser a aeth heibio i gofleidio twyll eulunaddoliaeth, a bod Iesu yn barod i'w derbyn i'w eglwys.

(c.) Dangoswn i bleidwyr Eglwysi Gwladol Ewrop y dylent bella daflu y ffyn baglau, ac ymddiried yn nerth y gwirionedd.

(d.) Ymdrechwn, gyda difrifoldeb cariadlawn, i ddangos i Ymneil duwyr Lloegr a Chymru ag sydd yn para i daenellu ar fabanod, eu b hwy trwy y ddefod wrthfiblaidd hon yn dal i fyny Babyddiaeth— cynnorthwyo Eglwysi Gwladol Ewrop—yn gwadu hawliau Crist f Brenin - yn ei ddirmygu fel Deddf-roddwr—yn ysbeilio yr eglw o'i bedydd—ac yn sefyll rhwng eu plant a thalu ufudd-dod personol Grist fel Pen yr eglwys. Ac y byddant wrth roddi fyny daenelli yn dychwelyd ei nwyfau yn ol i Eglwys Rhufain, ac wrth ymostwn i'r bedydd crediniol trwy drochiad, y byddant yn gwneyd fel y gwnaet Crist a'i Apostolion.

(e.) Dywedwn wrth y gwrandawyr anedifeiriol, mai eu dyledswyd yw edifarhau a chredu yr efengyl yn awr, derbyn Crist fel eu Gwa edwr, ac ufuddhau iddo trwy ymostwng i'w ordinhadau, ac yna cyn meryd eu dysgu yn yr holl bethau a orchymynodd efe.

(3.) *Mewn ymddiried ffyddiog am ddylanwadau yr Ysbryd Glân gydweithio.*

Heb hyn bydd ein gwaith i gyd yn ofer. Yr oedd Paul yn plann gynt, ac Apolos yn dyfrhau, ond Duw a roddai y cynydd. Felly etc Edrychwn atto ef am fendith ar ein holl ymdrechion. Yna byd ymdrech unol a ffyddlon Seion, gyda bendith y Goruchaf, yn ddigon er tynu cedyrn gestyll y diafol i'r llawr. Ufudd-dod llwyr y bobl y cael eu blaenori gan y cyrn hyrddod, gyda gallu Duw, a ddygod gaerau Jerico i lawr. Cleddyf yr Arglwydd a Gedeon a lwyddod gynt. Ymdrech Seion a bendith Duw a lwydda etto. Sylw olaf,—

7. *Sail ein dysgwyliad am lwyddiant.*

"Y Duw hwn," meddai y Salmydd, "yw ein Duw ni byth; Ef a'n tywys." Mae addewid Duw gyda ni—mwy na hyny; mae Duw ei hunan gyda ni—mae yr Arglwydd a'r bwriadau tragywyddol-marw poenus Calfaria—haeddiant anfeidrol yr aberth—rhinwedd gwaed a dywalltodd ar y groes—nerth eiriolaeth yr Archoffeiria mawr yn y nef—a dylanwad anorchfygol yr Ysbryd Glân, oll o d llwyddiant Seion.

Os gwir a ddywed y Bardd,—

"Mae Seion wan yn gruddfan am y wawr,"

Gwir hefyd,—

"Y bydd yn y man yn fam i dyrfa fawr;
Mae'r arfaeth rad a gwerthfawr wa'd yn up,
A gair y llw—i gyd am gadw dyn."

AMEN.

---

W. JONES, ARGRAFFYDD, HEOL DUC, CAERDYDD.

